D. J. Truscott
Pantycelyn House
87. Marylands Rd. Maida Vale
W.

x/ Oct 190

# HANES DUWINYDDIAETH.

GAN

Y PARCH L. EDWARDS, D.D.,
BALA.

WREXHAM:
ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN HUGHES & SON.
1889.

# NODIAD.

Bwriadwyd y gwaith rhagorol hwn fel rhaglith i "Gorph o Dduwinyddiaeth" Dr. Lewis, a dyna y rheswm dros ddefnyddiad y gair "Rhaglith."

Mae y gwaith yn ei ffurf bresenol, modd bynag, yn gyflawn ynddo ei hun.

# CYNNWYSIAD HANES DUWINYDDIAETH NEU Y RHAGLITH.

# RHAGLITH.

## PENNOD I.

## Y BÏBL A CHREFYDD.

WRTH ddarllen y Bïbl mae yn angenrheidiol cofio, megis am bob llyfr arall, i ba beth yn fwyaf neillduol y bwriadwyd ef; oblegid y mae iddo ryw un dyben mawr, yr hwn sydd yn weledig yn mhob rhan, yn cysylltu yr holl ranau â'u gilydd, ac yn rhoddi undeb meddwl ac ysbryd i'r cwbl. Ni fu erioed lyfr wedi ei ysgrifenu gan y fath nifer o wahanol awdwyr, mewn amserau ac amgylchiadau mor amrywiol: ac eto, nid yw y gwahaniaeth hwn ond yn gwneyd yr undeb amcan yn fwy amlwg. Ysgrifenwyd rhanau o hono gan rai oedd yn gydnabyddus â chwedlau ffol y gwledydd mwyaf eilunaddolgar, chwedlau a dderbynid fel gwirionedd gan y meddyliau cryfaf yn yr oesoedd hyny; ac ysgrifenwyd rhanau eraill gan rai oeddynt wedi dyfod i gyffyrddiad â doethineb y Groegiaid, doethineb a fu wedi hyny yn effeithiol i fesur mawr i lygru Cristionogaeth ei hun; ac eto, rhedodd y dyfroedd grisialaidd hyn ymlaen trwy ganol arferion y gaugrefyddwyr, ac heibio i gyfundraethau yr athronwyr, heb fod mewn un gradd yn llai pur, er yn fwy mewn maint, yn y diwedd nag oeddynt yn y dechreu. Ac ymddengys hyn yn fwy rhyfedd wrth ystyried fod addysg y Bïbl yn dwyn cysylltiad â'r materion uwchaf ac anhawddaf sydd mewn bod, y rhai o ganlyniad y mae mwyaf o anghydwelediad wedi bod yn eu cylch, yn enwedig pan fyddai dynion yn meddwl am danynt o ddifrif, ac yn teimlo oddiar argyhoeddiad personol y pwys sydd yn perthyn iddynt. Hawdd yw cytuno pan dderbynir rhyw grediniaeth fel ffurf yn unig, yr hyn oedd sefyllfa y rhan fwyaf o'r dosbarth doethaf yn mysg y Groegiaid a'r Rhufeiniaid, neu pan gymerir rhyw draddodiad yn ganiataol gan y plant oddiwrth eu rhieni, yr hyn yw yr esboniad am eiddigedd y rhai mwyaf anwybodus yn mhob oes ac yn mhob gwlad: ond dyma restr o ysgrifenwyr, y rhai oeddynt yn meddu pob cymhwysder a thuedd i feddwl drostynt eu hunain, yn traethu eu syniadau mewn gwahanol ddull,

rhai yn hanesyddol, rhai yn farddonol, a rhai yn ohebiaethol, a hyny ar y materion mwyaf anhawdd i gydweled yn eu cylch, ac eto yn cytuno yn berffaith â'u gilydd, er eu bod yn anghytuno â phawb yn mhob cenedl arall, ac yn fynych â'r cyffredin o'u cenedl hwy eu hunain. Ac nid ar y wyneb yn unig y maent yn cytuno; ond po dyfnaf y treiddir i'w meddyliau, amlycaf yr ymddengys y tebygolrwydd sydd rhyngddynt: a'r testun y gallesid dysgwyl iddynt amrywio mwyaf yn ei gylch sydd yn cyfansoddi gwreiddyn yr undeb hanfodol yr hwn sydd yn cysylltu eu holl ysgrifeniadau, ac yn gwneuthur y cwbl yn un Bibl.

Ond pa beth yw y testun hwn? Pa beth yw amcan mawr y Bībl? Y mae yn cyffwrdd â chreadigaeth y byd; y mae ynddo gyfeiriadau mynych at arferion a hanesion gwahanol wledydd; ac y mae yn cynnwys trefniant o gyfreithiau gwladol, a chyflawnder o addysgiadau moesol. Gan hyny, byddai yn wasanaethgar, er mwyn ei ddeall, i ni fod yn gyfarwydd â'r holl faterion hyn mor bell ag y maent yn dwyn perthynas â'r Bībl; ac i'r perwyl hwn, mae yn ofynol, fel dysgyblaeth rag-barotoawl, i ni ddarllen llyfrau ar ddaearyddiaeth, hanesyddiaeth, ieithyddiaeth, ac arferion, y gwledydd dwyreiniol. Ond mae yn eglur mai nid un o honynt yw dyben y Bībl; ac y gellir eu hefrydu oll yn llafurus a llwyddiannus heb gyrhaedd golwg unwaith ar ysbryd y dadguddiad dwyfol. Nid yw wedi ei roddi er mwyn dysgu y celfyddydau na'r gwybodaethau daearol; ac o ddiffyg deall hyn y mae llawer wedi gwneuthur cam ag ef wrth geisio ei dderchafu. Dadleuent dros gywirdeb grammadegol yr iaith, a phurdeb yr arddull o ysgrifenu, neu dros ystyr lythyrenol pob cyfeiriad sydd ynddo at anian a'i deddfau, heb feddwl am yr anfri oeddynt yn daflu ar Dduw trwy ei osod allan fel yn cyfansoddi llyfr i ddysgu ieithyddiaeth, neu seryddiaeth. Y ffordd effeithiol i ateb y prif wrthddadleuon a ddygir ymlaen y dyddiau hyn yn erbyn ysbrydoliaeth y Bībl yw dangos ei wir ddyben. Os dywedir fod iaith goethach, a mwy o brydferthwch cyfansoddiad i'w cael yn ngwaith rhai o'r awdwyr paganaidd, ac os haerir fod goleuni eglurach ar ddaeareg ac ar seryddiaeth wedi ei roddi trwy ymchwiliadau diweddar, nid ydym yn gofalu am ateb iddynt yn y peth hwn, ac nid yw yn werth dadleu ar byncian mor ddibwys. Os yw yn anaddas i Farnwr mewn llys gwladol amcanu at roddi anghraifft berffaith o araethyddiaeth wrth gyfarch y carcharor sydd ger ei fron, neu roddi addysgiadau iddo mewn gwahanol ganghenau o wybodaeth gyffredinol, pa faint mwy anaddas ydyw meddwl fod Duw yn ysgrifenu llyfr i ddysgu seryddiaeth, neu ddaeareg, neu reolau ieithyddiaeth a barddoniaeth,

Dichon, er hyny, y gellid profi, heb lawer o ymdrech, fod y Bĭbl yn yr ystyriaethau tymhorol hyn yn rhagori ar bob llyfr arall; a bod llenyddiaeth y byd, er megis yn anfwriadol, eto o angenrheidrwydd, dan fwy o ddyled iddo nag y meddylir gan ei wrthwynebwyr. Y mae iaith wedi ei chyfoethogi trwyddo, a hen eiriau nad oedd iddynt ond ystyr ddaearol fel yr arferid hwynt gan y paganiaid, wedi derbyn meddwl ysbrydol a derchafedig. Ac er nas gellir dadleu fod llawer o addurn yn perthyn i'r arddull o ysgrifenu, eto os ymofynir am y gwir brydferth, a'r gwir arddunawl, nid oes un llyfr yn haeddu ei gystadlu â'r Bĭbl; ac y mae yn ammheus a oes un syniad cywir yn bod am y prydferth, neu yr arddunawl nad yw wedi tarddu o'r Bĭbl. Crist yw bywyd y byd yn mhob ystyr; bywyd llenyddiaeth, bywyd gwybodaeth, bywyd gwladwriaeth, bywyd masnach, bywyd pob sefydliad. Ond y mae yn fywyd yn yr ystyriaethau hyn *am* ei fod yn fywyd mewn ystyr anrhaethol uwch. Nis gallasai ddyfod i'r byd yn ei Air mewn iaith ddynol, mwy nag y gallasai ddyfod yma yn y natur ddynol, heb wasgaru bendithion tymhorol pa le bynag yr elai; ond ni ddaeth i'r byd yn y naill ffordd na'r llall i wneuthur drosom, fel ei brif ddyben, yr hyn a allasem ni ei wneuthur drosom ein hunain. Amcan y Gair yn dyfod yn gnawd oedd i gyflawni yr hyn nis gallasai neb arall; ac amcan y Gair ysgrifenedig yw dysgu i ddyn yr hyn nis gallasai dyn o hono ei hun byth ei wybod. Hyd yn nod am y rhanau hyny sydd yn ymddangos fel yn llefaru am y ddaear ac am bethau daearol, y mae yn anmhosibl eu deall yn iawn heb edrych arnynt yn ngoleu rhyw fyd uwch. Yn y bennod gyntaf o Genesis, nid y dyben yw rhoddi esboniad ar drefn ac ansawdd y creigiau, a'r amrywiaeth diderfyn o greaduriaid sydd ynddynt. DUW yw y meddwl mawr sydd yn tywynu arnom gyda thanbeidrwydd digyffelyb yn yr adnod gyntaf; a dyma y meddwl sydd yn llanw yr holl bennod: ac nid Duw yn bod ar wahan oddiwrth ei greaduriaid, ond Duw yn ffynonell bôd i bob creadur, ac yn creu dyn ar ei lun a'i ddelw ei hun; yr hyn sydd yn arweiniad i'r hanes am dano yn ymostwng i wneuthur cyfammod â dyn, ac yn ymostwng yn fwy i'w dderbyn i gyfammod gwell wedi iddo bechu. Yn ngoleu y berthynas hon rhwng dyn a'i Greawdwr y mae i ni weled ystyr pob rhan o'r Bĭbl. Pa bryd bynag y daw dyn i ystyried o ddifrif fod Duw yn bod, y mae yn dyfod i deimlo fod ganddo achos rhyngddo â Duw, yr hwn sydd yn gorbwyso pob achos arall. Hwn yw yr achos sydd yn gofyn Duw ei hun i'w egluro: ac am hyny, os yw Duw yn llefaru, gallwn fod yn sicr mai hwn yw y testun. Pwnc mawr y Bĭbl, gan hyny, yw *crefydd* yn ystyr helaethaf y gair.

## PENNOD II.

## CREFYDD AC ATHRAWIAETH.

CYMERIR y gair "crefydd" weithiau i ddynodi yr ymarferiadau hyny a ystyrir fel gweithredoedd o addoliad; ac mae yn debyg mai felly y mae i ni ddeall y gair mewn rhai manau yn y Testament Newydd. Bryd arall y mae yn arwyddo y teimlad o'r hwn y mae y gweithredoedd hyn yn yn tarddu. Ond arferir ef yn fynych mewn ystyr helaethach, megis pan sonir am y grefydd Gristionogol, y grefydd Fahometanaidd, neu rai o'r crefyddau Paganaidd. Pa ystyr bynag a roddir iddo y mae yn dangos dyn yn ei berthynas a rhyw fôd neu fodau uwch nag ef ei hun: ond un o nodau neillduol y grefydd Gristionogol ydyw ei bod yn gosod allan y berthynas hon mewn athrawiaeth. Mae y sylw hwn wedi ei wneuthur, gyda golwg ar y gwahaniaeth rhwng y grefydd Gristionogol a'r holl grefyddau Paganaidd, gan y meddyliwr mawr hwnw, Leibnitz, yn ei ragymadrodd i'r Theodicée, lle, ar ol crybwyll fod i grefydd ddau fath o ffurf, sef ffurf o ymarferiad a ffurf o gredo, y mae yn dweyd, "Y Paganiaid, y rhai a lanwent y ddaear cyn sefydliad Cristionogaeth, ni feddent ond un math o ffurf: yr oedd ganddynt ddefodau yn eu haddoliad, ond nid oeddynt yn cydnabod unrhyw erthyglau ffydd, ac nid oeddynt erioed wedi meddwl am barotoi cyfundraethau o'u duwinyddiaeth athrawiaethol. Ni wyddent a oedd eu Duwiau yn wir bersonau, neu arwyddion o alluoedd naturiol, megis o'r haul, y planedau, neu yr elfenau. Eu dirgeledigaethau oeddynt yn gynnwysedig, nid mewn athrawiaethau anhawdd, ond mewn ymarferiadau dirgelaidd, yn y rhai nid oedd neb i fôd yn wyddfodol ond y rhai oedd wedi eu derbyn yn rheolaidd. Yr ymarferiadau hyn yn fynych oeddynt ffol ac afresymol, ac yr oedd yn rhaid eu cuddio o'r golwg er mwyn eu cadw rhag dirmyg."

Y mae De Quincey, mewn traethawd o'r enw, "*On Christianity as an organ of political movement*," yn ymhelaethu ar yr un peth; ac yn dangos gyda'i eglurder arferol fod gwahaniaeth hanfodol rhwng crefydd y Bïbl a phob crefydd arall, yn gyntaf, gyda golwg ar ffurf yr addoliad; yn ail, yn y drychfeddwl am Dduw, drychfeddwl nid wedi ei buro yn unig oddiwrth hen lygredigaethau, ond yn hollol newydd i'r byd; yn drydydd, yn yr

olwg ar y berthynas y mae dyn ynddi tuag at Dduw; ac yn bedwerydd, yn y rhan athrawiaethol, yn dysgu cyfundraeth o foesoldeb mor newydd fel nad oedd geiriau yn cynnwys meddyliau cyfatebol i'w cael yn yr ieithoedd clasurol, ynghyd a chyfundraeth o ddirgeledigaethau, megis dirgelwch y Drindod, yr Ymgnawdoliad Dwyfol, yr Iawn, yr Adgyfodiad, a'r cyffelyb. Ond efallai mai yr ail, sef y gwahaniaeth yn y drychfeddwl am Dduw, yw gwreiddyn pob gwahaniaeth arall. Nid oes dim yn ymddangos yn fwy dyeithr i ddyn ieuanc, pan yn dechreu darllen ysgrifeniadau y Groegiaid a'r Rhufeiniaid, na'r desgrifiadau a roddir ganddynt o'u duwiau. Wrth eu haddoli nis gallesid eu parchu, na ffurfio un athrawiaeth mewn perthynas iddynt, mwy nag y gall y caethwas deimlo parch i'w orthrymwr, na ffurfio barn gyson o barth ei weithrediadau. Cyn y gall fod parch nac athrawiaeth gyda golwg ar unrhyw lywodraeth, mae yn rhaid iddi fod yn sylfaenedig ar gyfiawnder a deddf, a gweithredu yn unol â llais cydwybod a rheswm. Ond yr oedd duwiau y paganiaid yn fwy cyfnewidiol ac yn fwy llygredig, na'r cyffredin o ddynolryw: ac felly, yr oedd y syniad am danynt, yn lle dyrchafu y meddwl at wirioneddau sefydlog, yn tueddu i ddifodi pob ystyriaeth o'r gwahaniaeth rhwng da a drwg, rhwng gwirionedd a chelwydd, rhwng sancteiddrwydd ac ansancteiddrwydd, ac o ganlyniad i lygru calonau yr addolwyr. Pe buasai y meddyliau galluocaf yn myned uwch ben y chwedlau aneirif am y duwiau, nis gallasent gael defnyddiau ynddynt oll i gyfansoddi cyfundraeth o athrawiaethau duwinyddol, nac o reolau ymarferol, mwy nag o'r *Arabian Nights Entertainments.* Ceir dywediadau mwy teilwng am Dduw yn y Coran: ond yma mae yr eithriad yn profi y rheol; oblegid nid oes dim o duedd dda yn y Coran nad yw wedi ei gymeryd o'r Bibl.

Mae yn ddiau mai yn yr India yr ydym yn cael mwyaf o fantais i weled pa fath oedd crefydd yn yr hen oesoedd yn ei gwedd oreu pan nad oedd yn deilliaw o'r Bïbl, gan fod rhai o'r llyfrau a gyfrifir yn sanctaidd a dwyfol gan yr Indiaid yn cyrhaedd yn ol i gyfnod deuddeg cant o flynyddoedd o leiaf cyn geni Crist, ac felly yn ein harwain yn nes at y ffynonell nag un cyfansoddiad arall tu allan i'r Bïbl: ac y mae Max Müller, yn ei lyfr ar "Hanes yr hen lenyddiaeth Sanskrit," yn ceisio profi eu bod yn cynnwys rhai meddyliau heb fod yn mhell o gyfateb i ansawdd y grefydd Gristionogol. Ond yn y lle cyntaf, yr oedd ysgrifeniadau y Veda yn gwaelu y naill oes ar ol y llall, a'r hyn a ddysgir yn y rhai olaf yn fwy llygredig na'r hyn a ddysgir yn y rhai cyntaf, cyfnod y Mantra yn fwy llygredig na chyfnod y Chhandas, cyfnod y Brahmana yn fwy llygr-

edig na chyfnod y Mantra, a chyfnod y Sutra yn fwy llygredig na chyfnod y Brahmana. Dyma yr hyn a allesid ei ddysgwyl mewn traddodiad; ond y mae yn hollol groes i'r hyn sydd briodol i ddadguddiad dwyfol. Ac yn ail, er i ni fyned yn ol at gyfnod y Chhandas, ddeuddeg can mlynedd cyn dyfodiad Crist, mae yn wir y ceir yn rhai o'r emynau ychydig o feddyliau tra phrydferth am natur bodolaeth, ond nid ydym yn cael fod un cysylltiad rhwng y meddyliau hyny a'r syniadau oedd ganddynt am eu duwiau, na'u bod yn meddu un math o athrawiaethau duwinyddol. I'r gwrthwyneb, yr ydym yn cael eu bod, hyd yn nod yn y cyfnod hwnw, yn priodoli i'w duwiau yr anfoesoldeb mwyaf anfad; a'u bod yn moreuddydd yr hanes sydd wedi dyfod i lawr hyd atom ni, wedi colli golwg ar sylfaen crefydd, yr unig sylfaen sydd yn ddigon cref i adeiladu arni gymaint ag un drychfeddwl a all roddi boddlonrwydd i'r gydwybod, neu effeithio i buro y serchiadau. Yr oedd ganddynt chwedlau am eu duwiau, ac yr oedd ganddynt feddyliau barddonol am y greadigaeth; ond nid oedd ganddynt gymaint ag un golygiad y gellir ei alw yn athrawiaeth.

Nid gwahaniaeth graddau yn unig sydd rhwng crefydd y Bibl a phob crefydd arall: nid fel y gwahaniaeth rhwng angel ac anifail; nac ychwaith fel y gwahaniaeth rhwng y Creawdwr a chreadur, oblegid gall creadur fod mewn rhyw ystyr yn gyffelyb i'r Creawdwr: ond gwahaniaeth o wrthwynebrwydd digyfnewid, cyffelyb i'r gwahaniaeth rhwng sancteiddrwydd a phechod, rhwng y nefoedd ac uffern, rhwng Duw a'r diafol. Gall rhai dybied fod hyn yn ormodiaith: ond po mwyaf y chwilir i hanes y byd, amlycaf y gwelir nad yw y geiriau yn rhy gryfion; ac nid oedd yr Apostol Paul yn petruso dweyd, am y pethau yr oedd y cenhedloedd yn eu haberthu, mai i gythreuliaid yr oeddynt yn eu haberthu. Ond pe cymerid yr olwg iselaf ar y mater, a phe caniateid nad oedd eu golygiadau am Dduw yn hollol wrthwynebol i'r gwirionedd, er hyny y mae yn rhaid addef fod y golygiadau hyny mor hanfodol ddiffygiol fel nad oedd gwrthddrych eu haddoliad yn Dduw, yn ol gwir ystyr y gair "Duw;" ac o ganlyniad nis gallasai eu crefydd fod yn grefydd, yn ol gwir ystyr y gair "crefydd." Yr oedd ganddynt restr o gyflawniadau, y rhai a ystyrient hwy yn rhyw fath o foddlonrwydd i fodau anweledig; ond nid oedd ganddynt ddim i'r enaid, na dim yn tarddu o'r enaid. Am nad oedd perthynas rhwng eu gwasanaeth â Duw hollbresenol, nid oedd perthynas rhyngddo ag enaid dyn. Y Bibl sydd wedi dangos i'r byd mai ysbryd yw Duw, a bod yn rhaid ei addoli mewn ysbryd a gwirionedd. Y mae wedi dadguddio un gwir a bywiol Dduw; yr hwn sydd yn anghyfnewidiol sanctaidd, yn

gweled dan yr holl nefoedd, yn deall ein meddwl o bell, yn amgylchynu ein llwybr a'n gorweddfa, ac yn hysbys yn ein holl ffyrdd, yn yr hwn yr ydym yn byw, yn symud, ac yn bôd, yr hwn sydd yn llefaru wrth bob dyn yn ei gydwybod ef ei hun, a thrwy y gydwybod yn uno y deall a'r teimlad i'w wasanaethu, nid y naill heb y llall, yr hyn ni ddichon fod, ond y deall trwy yr athrawiaeth am Dduw yn effeithio ar y teimlad, a'r teimlad yn cael ei buro trwy hyny, ac effeithio yn ol i gryfhau a goleuo y deall, fel y gallo dreiddio yn ddyfnach i'r athrawiaeth a ddadguddir yn y llyfr dwyfol. Heb Dduw nid oes awdurdod yn y gydwybod, ac heb awdurdod yn y gydwybod nid oes gallu yn y meddwl i lywodraethu y deall a'r ewyllys. Os y gydwybod yw y gynneddf lywodraethol, er hyny y mae gwaith anhebgorol mewn crefydd i deimladau y galon a golygiadau y deall; ac y mae y rhai olaf hyn yn dwyn perthynas agos â'u gilydd, fel y maent â'r gydwybod; oblegid er mai â'r galon y credir i gyfiawnder, eto nis gall gredu ond yr hyn a gyflwynir trwy y deall i'r meddwl: ac am hyny nid oes un grefydd yn meddu cymhwysder i gyrhaedd y teimladau, ac i effeithio ar yr ewyllys, os na bydd ganddi gorff o wirioneddau i'w cyflwyno i'r deall, a'r gwirioneddau hyny yn cyfateb i sefyllfa dyn fel creadur rhesymol, yr hwn sydd yn ymwybodol o'i drueni, er ei fod i raddau yn dywyll am y gwir achos o'r trueni hwnw, ac yn llwyr analluog i ffurfio un ddyfais foddlonol, hyd yn nod iddo ef ei hun, am drefn o waredigaeth. Y mae hyn yn cynnwys fod crefydd, yn ol gwir a chyflawn ystyr y gair, yn rhagdybied yr angenrheidrwydd am athrawiaeth; yr hyn sydd yr un peth a dweyd nas gallasai crefydd fod, wedi i ddyn bechu, heb hysbysiad o'r prif wirioneddau sydd genym yn y Bibl, naill ai trwy addysg ddigyfrwng, fel yn yr oes batriarchaidd, neu fel y rhoddwyd hwynt ar ol hyny mewn ysgrifen. Megis nas gellir tybied am ddadguddiad heb fod ynddo athrawiaeth, felly nis gellir tybied am athrawiaeth heb ddadguddiad. Mae yn wir fod golwg arbenig gan y Bibl ar sancteiddrwydd buchedd, ac mai ofer yw ein crefydd os nad yw yn effeithio ar ein holl fywyd, yr hyn sydd wedi arwain rhai i ddibrisio profiad ac athrawiaeth. Ond nis gellir byw yn dduwiol heb deimlad duwiol yn y galon; ac nis gall fod teimlad heb athrawiaethau, y rhai y y siaredir am danynt yn fynych fel pe na byddent ond esgyrn sychion, a'r rhai nid ydynt yn ddim amgen pan ddadgysylltir hwynt oddiwrth y rhanau eraill; ond y rhai ydynt, er hyny, yn anhebgorol i fywyd crefydd yn mhob ystyr, y bywyd tufewnol a'r bywyd allanol, a'r rhai sydd oddi fewn yn llawn o fêr iachusol, heb yr hwn nis gallai yr aelodau deimlo na gweithredu.

## PENNOD III.

## ATHRAWIAETH A DUWINYDDIAETH.

OND er na fuasai genym athrawiaethau crefyddol heb ddadguddiad, nid ydym yn cael eu bod wedi eu rhoddi yn y Bïbl mewn ffurf athrawiaethol; eithr yn hytrach yn wasgaredig trwy y gyfrol sanctaidd, nid yn anhebyg i'r dull y mae y defnyddiau gwerthfawrocaf mewn natur, wedi eu cyfleu mewn gwahanol ranau o'r ddaear, fel y byddai chwilio am danynt yn waïth parhaus i ddynolryw, ac yn elfen bywyd i'r byd hyd ddiwedd amser. Ni fwriadwyd i neb ddyfeisio athrawiaethau crefydd mwy na chreu defnyddiau natur: ac ar ol eu cael yn y dadguddiad dwyfol, y mae rheswm, os na chedwir ef dan lywodraeth, ac o fewn terfynau priodol, yn debyg, fel y byddai rhai o'r Tadau Cristionogol yn arfer dweyd, o fyned fel Ismael i ddirmygu mab yr addewid, yr hyn sydd wedi arwain pobl dduwiol rai gweithiau i fwrw allan y wasanaethferch a'i mab. Er hyny y mae yma ddigon o le i holl gynneddfau y meddwl roddi allan eu hegni eithaf mewn gweithrediad; ac y mae yn rhaid iddynt weithredu i ryw raddau yn mhob dyn, cyn y dichon iddo gyrhaedd adnabyddiaeth drosto ei hun, ac iddo ei hun o feddwl Duw yn ei Air. Nid trwy ddadguddiad y mae i ni ddeall ystyr y geiriau: ac ar ol cael hyny i'r golwg, gorchwyl anhawdd drachefn yw gweled cysylltiad yr ymadroddion mewn ymresymiad. Ond er i ni ddeall y meddwl mewn un ymresymiad, yr ydym eto mewn perygl o ffurfio barn hannerog; ac y mae yn angenrheidiol i ni gymharu gwahanol ranau o'r Ysgrythyr, a'u dwyn at eu gilydd heb wneuthur cam a'r naill er mwyn dyrchafu y llall, cyn y bydd genym olygiad cyflawn ar gymaint ag un athrawiaeth. Dyma waith sydd yn peri i'r meddwl cryfaf deimlo ei wendid a'i fychander; oblegid, er fod y meddwl dynol yn fawr, y mae llyfr Duw yn anfeidrol fwy. "Mor werthfawr yw dy feddyliau genyf, O Dduw," medd y Salmydd, "mor fawr yw eu swm hwynt." Y mawredd hwn yw yr achos fod cymaint o wahaniaeth barn am feddwl y Bïbl ar bob pwnc, gan mai y llyfrau mwyaf bob amser yw y llawnaf o anghysonderau ymddangosiadol. Y mae hyn yn wir am ysgrifeniadau dynion, er nad ydynt yn rhoddi ar y goreu ond rhanau o'r gwirionedd: ond y mae pob athrawiaeth yn llyfr Duw yn fyd o feddwl, ac nid rhyfedd fod rhai nad yw eu golwg yn cyrhaedd ond ychydig filldiroedd ar un ochr i'w wyneb ëang yn methu

gweled y gwirioneddau sydd yr ochr arall, ac yn methu deall pa fodd y gallant hanfodi. I'w tŷb hwy nid oes dim yn fwy afresymol na meddwl fod gwirioneddau gwrthgyferbyniol; gan nad ydynt yn ystyried fod y byd mawr crwn o feddwl dwyfol, yr hwn y mae digon o le ar ei wyneb i'w cynnwys oll, yn meddu hefyd ar ddigon o sugndyniad i'w cadw oll yn eu lle, yn ddïogel ac mewn trefn; ac i beri fod sefyllfa y naill mor naturiol ag yw sefyllfa y llall.

Ond nid yw gwaith yr efrydydd duwinyddol eto wedi ei orphen; oblegid ar ol cael amcan cywir am un byd, nid yw y meddwl yn gorphwys heb ddwyn yr holl fydoedd, neu gynifer o honynt ag a all efe eu darganfod, i berthynas a'u gilydd: hyny yw, megis yn mhob gwybodaeth, felly hefyd wrth ddarllen y Bibl, y mae ynddo duedd naturiol i gasglu y gwahanol athrawiaethau i ryw undeb, a thrwy hyny i ffurfio cyfundraeth o dduwinyddiaeth. Y mae meddwl dyn yn un; ac efallai mai yn y meddwl yn unig y mae gwir unoliaeth. Nid oes un gwrthddrych gweledig yn bod nad yw y meddwl yn alluog i'w ranu: ond nis gall ranu ei hun; ac ar ol rhanu gwrthddrychau allanol, nis gall aros heb eu huno yn ddosbarthiadau, a chasglu y dosbarthiadau hyny drachefn yn un dosbarth. Fel nad oes dim yn rhy fychan i'r meddwl i'w ranu, felly nid oes gwrthddrychau yn rhy bell mewn amser na lle i'r meddwl daflu ei lywodraeth drostynt, a'u dwyn i ryw gysylltiad â'u gilydd. Dyma un o'i brif ragoriaethau; ac nis gellir ei rwystro i'w harferyd. Ar ol uno y bydoedd uwchben, y mae yn y dyddiau hyn yn argraffu undeb ar bob ffurf o fywyd neu feddwl. Hyd yn nod pe byddai ffurfiau o fywyd wedi diflanu oddiar wyneb y ddaear, ac wedi eu claddu dan haenau o greigiau, a'r creigiau hyny wedi eu taflu blith-dra-phlith i bob ymddangosiad; neu ffurfiau o feddwl yn gorwedd yn guddiedig mewn hen ieithoedd, a'r ieithoedd hyny wedi eu chwalu yn ddarnau, a'r darnau wedi eu gwasgaru trwy wahanol wledydd; nis gall dyn adael llonydd iddynt heb eu dwyn yn ol i undeb a threfn. Y perygl ydyw, iddo fyned i ddychmygu mai ei feddwl ef ei hun yw canolbwynt y greadigaeth, yr hwn sydd i uno y cwbl â'u gilydd, yn anffaeledig, heb ystyried fod yr un hawl a'r un gallu i ryw raddau yn perthyn i bob meddwl arall: ac am hyny nas gall yr un o honynt fod yn gywir ond mor bell ag y mae yn cyfranogi o ryw undeb cyffredinol, yr hwn sydd yn cynnwys pob undeb neillduol, a'r hwn sydd o ganlyniad yn ymddibynu ar feddwl anfesurol ac anghyfnewidiol. Y mae gan ddyn allu i weithredu yn gelfyddydol ar wrthddrychau allanol, a'u ffurfio i ateb ei ddybenion ei hun; ond y mae yn rhaid i'r gallu hwnw gydffurfio â deddfau natur, neu y mae yn hollol

aneffeithiol: ac felly yn yr un modd y mae ganddo allu i uno gwahanol ranau gwybodaeth, a chyfansoddi cyfundraethau trwy hyny; ond y mae yn rhaid i'r cyfundraethau hyny gyfateb i ryw undeb sydd yn bod y tu allan i'w feddwl ef, ac oedd yn bod cyn i'w feddwl ef ddechreu ymsynied, neu y maent yn cynnwys ynddynt eu hunain yr achos o'u dinystr. Ond yn lle chwilio am yr undeb hwn, y mae tuedd mewn dyn i geisio creu cyfundraethau o'i feddwl ei hun; ac o'r gwreiddyn hwn y tardd y rhan fwyaf o gyfeiliornadau y dyddiau presenol: oblegid pan y mae dyn yn amcanu myned yn greawdwr, y mae, yn lle creu, yn sicr o ddistrywio.

Y mae hyn yn cael ei addef gan lawer o anffyddwyr: ac fel anghraifft gellir enwi Hobbes, yr hwn yn ei Leviathan, rhan i, pen 5, sydd yn sylwi fel y canlyn. "Ac megis mewn rhifyddiaeth, y rhai nad ydynt wedi arfer nis gallant lai na chyfeiliorni, a'r rhai mwyaf gwybodus a allant yn fynych gyfeiliorni, a chamwneyd y cyfrif; felly hefyd mewn unrhyw bwnc arall o ymresymiad, y dynion mwyaf galluog, mwyaf manwl, a mwyaf arferedig a allant dwyllo eu hunain, a thynu casgliadau cyfeiliornus; nid am nad yw rheswm ei hun bob amser yn wir reswm, fel y mae rhifyddiaeth yn gelfyddyd sicr ac anffaeledig: ond nid rheswm un dyn, na rheswm unrhyw nifer o ddynion, sydd yn cyfansoddi y sicrwydd; mwy nag y mae cyfrif wedi ei wneyd i fynu yn anffaeledig am fod llawer o ddynion wedi ei gymeradwyo yn unfrydol. Ac am hyny, megis pan fyddo dadl o barth i ryw gyfrif, mae yn rhaid i'r pleidiau trwy gytundeb osod i fynu, fel rheswm gwir, reswm rhyw athrywynwr neu farnwr, i ddedfryd yr hwn y mae y ddwy blaid yn foddlawn ymostwng, neu mae yn rhaid i'r ddadl ddybenu mewn ymladdfeydd, neu aros heb ei phenderfynu, o ddiffyg rheswm gwir wedi ei sefydlu gan natur; felly y mae hefyd yn mhob dadleuon o bob math." Mor bell ag y mae y dywediad hwn o eiddo Hobbes yn dwyn perthynas ag anallu dyn i gyrhaedd sicrwydd heb ryw safon y tuallan iddo ef ei hun, y mae yn cynnwys gwirionedd diymwad: ond y mae ynddo ddau gyfeiliornad pwysig, trwy ei fod, yn y lle cyntaf, yn gwadu y gall y meddwl dynol gyrhaedd sicrwydd o gwbl, ac yn ail, yr hyn yw ei brif ddyben, a'r prif dwyll sydd yn yr holl draethawd, trwy ei fod yn anfon dyn yn ei ansicrwydd i ymofyn am benderfyniad ar bob dadl at ryw farn ddynol, yr hon ganddo ef nid yw ddim amgen na barn y llywydd gwladol. Ond y mae rheswm mewn dyn, yr hyn sydd yr un peth a dweyd fod ganddo allu i uno drychfeddyliau, a thrwy hyny i ffurfio cyfundraeth o wybodaeth; ac y mae ynddo yn gynhenid fel creadur rhesymol, egwyddorion y drychfeddyliau hyn, y rhai nis gall eu gwadu

heb wadu ei hun. Y mae ganddo sicrwydd ynddo ei hun fod y fath beth yn bod a chyfiawnder, daioni, deddf, a chyfrifoldeb, am fod adlewyrchiad o honynt yn ei feddwl o fyd arall: ond trwy fod y drych sydd yn eu hadlewyrchu wedi ei ddifwyno a'i amharu, nid ydynt yn ymddangos ond yn ammherffaith, ac yn rhanau digysylltiad; ac ofer yw ei holl ymdrech i uno y rhanau hyny yn un darlun, ac felly i fiurfio gwyddor, neu gyfundraeth gyflawn o dduwinyddiaeth, nes y caiff olwg arnynt oll yn cydgyfarfod yn eu prydferthwch gwreiddiol a goruwchnaturiol y tu allan i'w feddwl ef ei hun. Dyma yr hyn a welir yn y Bïbl, ac nid mewn un llyfr arall. Fel y mae crefydd yn rhoddi undeb dyben i'r holl gyfrol sanctaidd, felly y mae yr athrawiaeth yn rhoddi undeb i'r grefydd; oblegid y mae undeb crefydd yn ymddibynu ar undeb athrawiaeth: ac i'r graddau yr ydym yn canfod ac yn deall yr undeb athrawiaethol, i'r graddau hyny yr ydym yn feddiannol ar gyfundraeth o dduwinyddiaeth. Gellir ysgrifenu pregethau neu draethodau ar bob pwnc athrawiaethol y mae y Bïbl yn son am dano, a'u crynhoi yn un llyfr, heb fod y llyfr hwnw yn deilwng o gael ei alw yn Gorff o Dduwinyddiaeth; oblegid nid gosodiad y gwahanol aelodau mewn cyffyrddiad â'u gilydd sydd yn eu gwneuthur yn un corff, ond rhyw egwyddor o fywyd, yr hwn sydd ynddynt oll, yn eu cysylltu oll, a'r hwn nis gall celfyddyd ei efelychu. Ond pa beth yw y bywyd hwn sydd yn uno holl athrawiaethau y Bïbl, ac y mae yn rhaid iddo uno ein golygiadau ninnau, cyn y bydd ein duwinyddiaeth yn cyfateb i'r Bïbl? Mae yr ateb wedi ei roddi gan Ioan: "Ynddo Ef yr oedd bywyd, a'r bywyd oedd oleuni dynion." Efe yw bywyd duwinyddiaeth naturiol, ac nis gellir deall creadigaeth na rhagluniaeth ond yn ei oleuni ef; a llawer mwy y dylem edrych arno fel bywyd a goleuni duwinyddiaeth y Bïbl.

Mae yn anhawdd egluro y mater hwn yn well na thrwy fenthyca ychydig eiriau allan o draethawd yn yr iaith Gymraeg ar "Unoliaeth y Bïbl," o waith Mr. J. Hughes, Liverpool: ac er fod y rhan fwyaf, os nid pawb, o ddarllenwyr y rhaglith hwn wedi eu gweled eisoes, mae yn ddiau na fydd yn flin ganddynt ail-ddarllen y dyfyniad a ganlyn. "Ymha le gan hyny y mae ei unoliaeth? pa beth yw rhwymyn ei undeb? Gwelir hyn yn Ephesiaid i. 10. Y mae yn un pan edrychom arno fel adroddiad yr hanes am y 'crynhoi ynghyd yn Nghrist yr holl bethau sydd yn y nefoedd ac ar y ddaear ynddo Ef'—am uniad y perthynasau cu a chysegredig a ddrylliwyd gan ddiafol a phechod—am adferiad y crëad i'w undeb cyntefig—am ddygiad y Cyntafanedig i'r byd er mwyn 'casglu ynghyd blant Duw y rhai a wasgarasid.' Dyma ddrychfeddwl mawr yr Ysgrythyrau; ac nid

yw yn ormod dyweyd mai dyma ei unig ddrychfeddwl. Mae yr oll a ddywedir o ddechreu Genesis hyd ddiwedd y Dadguddiad, yn talu gwarogaeth a theyrnged iddo. Tra y mae llyfrau eraill yr honir dwyfoldeb ac ysbrydoliaeth iddynt yn colli eu hunain ac yn dyrysu eu darllenwyr mewn damcaniaethau diddiwedd am y crëad a dechreuad defnydd—yn rhoddi y damcanol yn lle yr ymarferol—mor annrhaethol glir, oddiwrth bob peth anmhwrpasol a difudd o'r natur yma ydyw yr Ysgrythyrau! Nid hanes y byd elfenol ydyw llyfr Duw; ei ddrychfeddwl mawr ef ydyw 'y nefoedd newydd a'r ddaear newydd,' y rhai, gan faint eu gogoniant, a allant fforddio i ddynolryw anghofio y rhai cyntaf. Y mae un bennod o'r gyfrol drwchus yn llawn ddigon i fynegu am Dduw yn "creu nefoedd a daear," tra y rhoddir lliaws o bennodau i draethu am fab Terah, yr eilunaddolwr, am ei fod ef yn ddolen fawr yn y gadwen euraidd a deflid am nefoedd a daear yn ngoruchwyliaeth cyflawnder yr amseroedd, i'w gwneyd drachefn yn un â'u gilydd 'ynddo Ef,' yr Hâd a addawyd i Abraham. Rhaid addef fod hyn ar yr olwg gyntaf yn ymddangos yn beth dyeithriol. Dyna fywydau Abraham, Joseph, a Dafydd, personau unigol, yn llanw cymaint o le yn y gyfrol sanctaidd, ac wele ymherodraethau galluog yr Aipht ac Assyria yn cyfodi ac yn syrthio braidd heb un gair am danynt. Gadewir hwy mewn tywyllwch hollol; nid yw yn wiw gan y Bïbl daflu un drem arnynt os nad oes ganddynt yn y cyfamser a wnelont â'r Israel; ac mor fuan ag y mae eu perthynas â'r llwyth bychan hwn yn peidio, gollyngir hwy eilwaith i êbargofiant, o'r hwn y cyfodasant megys am un fynyd. Sonir am ryfeloedd y 'pedwar brenin yn erbyn pump' am fod hyny yn dwyn Melchisedec, 'hwn a wnaethpwyd yn gyffelyb i Fab Duw' ger bron. Sonir yn fore am Pharoah brenin yr Aipht, ond yn unig yn ei gysylltiad âg Abraham a Sarah. Ond er y gall hyn ymddangos yn ddyeithrol ar yr olwg gyntaf, wrth ei ystyried y mae yn ymddangos mor naturiol fel y buasai am y gwrthwyneb yn anhaws rhoddi cyfrif; oblegid nid hanes y byd ydyw y Bïbl ond hanes teyrnas Dduw."

---

## PENNOD IV.

## DUWINYDDIAETH A CHYFUNDRAETH.

Y MAE yn ymddangos, gan hyny, mai y cynllun goreu, y cynllun mwyaf cydweddol ag ysbryd y Bïbl, i gyfansoddi Corff o Dduwinyddiaeth, yw cymeryd yr Arglwydd Iesu Grist fel canolbwynt y gwirionedd dwyfol, ac

edrych ar bob athrawiaeth yn ei chysylltiad ag ef, ac yn y goleuni sydd yn dyfod oddiwrtho ef. Ond os eir i ymofyn pa mor bell y mae cyfundraethau y duwinyddion enwocaf yn cyfateb i'r cynllun, ceir yn rhy fynych, nid yn unig eu bod wedi methu llwyddo i gyrhaedd yr amcan, ond nad oedd yr amcan ganddynt mewn golwg. Rhoddir pennodau ar liaws o bynciau pwysig, megis, Y Priodoliaethau Dwyfol, Yr Arfaeth, Y Cyfammod Gweithredoedd, Pechod Gwreiddiol, Y Ddeddf Foesol, Yr Ysgrythyrau, Rhagluniaeth, Cyfawnhad, Sancteiddhad, a'r cyffelyb; ac yn fwyaf cyffredin crynhoir y pynciau hyn i ryw nifer o ddosbarthiadau, megis rhan am Dduw, rhan am Ddyn, rhan am y Gyfraith, rhan am Grist, rhan am waith yr Ysbryd Glan; ond gadewir y rhanau hyn heb un cysylliad rhyngddynt â'u gilydd, a gosodir Crist allan fel rhan yn unig o'r gyfundraeth, pan y mae yn y dadguddiad dwyfol yn bob peth, ac ym mhob peth. Hyd yn nod am y rhai sydd wedi ymdrechu i ffurfio un cyfanwaith duwinyddol, y mae llawer o honynt wedi cymeryd rhyw ddrychfeddwl arall yn sylfaen yr undeb, megis y drychfeddwl o *Addysgwr* gan Clement o Alexandria, yn y traethawd a elwir *Paidagogos*, y drychfeddwl o *Deyrnas* gan Augustine yn ei draethawd ar *Ddinas Duw*, neu y drychfeddwl o *Gyfammod* yn ysgrifeniadau Cocceius, Witsius, a'u canlynwyr: y rhai ydynt oll yn ddrychfeddyliau ysgrythyrol, ond nid yn cynnwys yr holl Ysgrythyr; a'r rhai, er mor bwysig ydynt yn eu lle eu hunain, a allant roddi golwg anghywir ar yr oll o dduwinyddiaeth wrth eu gosod mewn lle nad yw yn perthyn iddynt. Nid oes un drychfeddwl yn ddigon cryf i gynal yr holl adeilad, nac ychwaith i gynal ei hun, heb bwyso ar ryw wirionedd arall, ond y drychfeddwl mawr am y Person yn yr hwn y mae pob peth yn cydsefyll.

Ac am yr ysgrifenwyr hyny sydd yn rhanu eu duwinyddiaeth yn ddosbarthiadau heb un cysylltiad ymddangosiadol, y cyfryw yw y duedd at undeb y meddwl dynol fel na fyddai yn anhawdd darganfod yn ngwaith y rhan fwyaf o honynt ryw un drychfeddwl yn llywodraethu yr holl ddosbarthiadau, ac yn rhoddi ei ddelw arnynt oll, efallai heb yn wybod i'r awdwyr eu hunain. Ar un llaw y mae nifer o dduwinyddion, wedi eu llenwi gan deimlad o'u hymddibyniaeth ar Dduw am bob daioni, yn ysgrifenu Cyrff o Dduwinyddiaeth i ddangos pob canghen o athrawiaeth yn ei pherthynas ag arfaeth a phenarglwyddiaeth yr Hwn sydd yn gweithio pob peth wrth gyngor ei ewyllys ei hun; a'u prif amcan, gan hyny, yn y cwbl yw profi fod iachawdwriaeth yn hollol o ras. Ac ar y llaw arall, ceir Cyrff o Dduwinyddiaeth wedi eu hamcanu i ddangos fod gan ddyn ei waith, ac nas gall ymddyosg o'i rwymedigaeth. Ond wrth gymeryd fel egwyddor

lywodraethol, rhyw un gwirionedd fel hyn yn y pwnc yn unig, ar wahan oddiwrth y person yn yr Hwn y mae pob gwirionedd yn cydsefyll, y mae meddwl dyn yn dra thueddol i fyned i eithafion. Wrth geisio dyrchafu gras Duw, y mae mewn perygl i wneuthur cam â dyledswydd dyn; ac wrth gyfyngu ei hun yn benaf at ddyledswydd dyn, y mae yn hawdd iddo anghofio gras Duw, o'r hwn y mae y drefn yn deilliaw, ac i'r hwn y bydd gogoniant diddiwedd oddiwrthi. I weled pa le y mae yr eithafion hyn yn arwain, edrycher ar yr ysgrifenwyr hyny sydd yn rhoddi rhyddid i'w rheswm, heb ofalu am ei fod yn cydfyned â'r Ysgrythyr, nac am yr effeithiau ymarferol sydd yn canlyn. Y mae Spinoza yn cymeryd Duw yn ganolbwynt ei ymresymiadau, ac ni bu neb erioed yn fwy o feistr ar y gelfyddyd o ymresymu, ac yn fwy penderfynol i weithio allan yr hyn a ymddangosai iddo ef yn wirionedd: ond y mae yn dybenu mewn *Pantheistiaeth;* hyny ydyw, y mae yn gwneuthur pob peth, mewn undeb â'u gilydd, yn Dduw, yr hyn sydd yn gyfartal â dweyd nad oes un Duw yn bod. Y mae Fichte a Hegel, drachefn, yn dechreu gyda dyn, ac yn ymddangos weithiau fel pe byddent yn ceisio profi mai dyn yw pob peth, ac nad yw Duw ond dychymyg, neu fel yr oedd un o honynt yn beiddio dweyd, mai dyn sydd yn creu Duw. Nis gall dywediadau o'r fath yma lai na tharaw pob meddwl crefyddol â dychryn: ond y maent yn dangos beth yw natur a thuedd pob cyfundraeth sydd yn cymeryd golwg unochrog ar y gwirionedd, er fod yr awdwyr, efallai, yn proffesu eu bod yn sylfaenu eu golygiadau ar y Bibl. Er nad ydynt yn dyweyd mewn geiriau amlwg mai Duw yw pob peth, y maent er hyny, trwy wadu yr hyn sydd hanfodol i ddyn fel creadur rhesymol, mewn effaith yn difodi y meddwl dynol: neu ar y llaw arall, wrth geisio dyrchafu dyn, y maent yn gwadu priodoliaethau hanfodol y Duwdod, a thrwy hyny yn gwneuthur a allont hwy i ddifodi Duw. Dyben pob crefydd yw dwyn Duw a dyn at eu gilydd, a dyma yr anhawsder mawr mewn duwinyddiaeth. Pa fodd y mae i ni gydnabod Duw yn mhob peth, heb ei wneuthur yn bob peth? A pha fodd y gallwn ddal rhyddid dyn fel creadur, a'i ddyledswydd anghyfnewidiol, heb wadu y priodoliaethau dwyfol? Yr unig esboniad yw yr athrawiaeth fawr am y Person yn yr hwn y mae Duw a dyn mewn undeb tragywyddol. Yr undeb hwn sydd yn rhoddi goleu ar bob undeb arall: ac yn ngoleu yr undeb hwn nid yw yn anhawdd credu y gall fod undeb rhwng y dwyfol a'r dynol, heb fod y naill mewn un gradd yn rhwystro y llall, yn ngoruchwyliaethau Rhagluniaeth, yn nghyfansoddiad yr Ysgrythyrau sanctaidd, ac yn nychweliad dyn at Dduw.

Ac nid yn unig fel mantais i ddeall pob athrawiaeth arall y mae i ni ystyried y gwirionedd am berson Crist a'i waith, ond hefyd fel safon i farnu a yw ein syniadau am danynt yn gywir neu yn anghywir; a'r diffyg o gadw hyn mewn golwg yw y prif achos o'r rhan fwyaf o gyfeiliornadau duwinyddol. Gan mai dangos trefn i ddwyn dyn yn ol at Dduw yw amcan yr holl dadguddiad dwyfol, a chan mai yn Nghrist yn unig y mae y drefn hon yn cael ei bod, y mae yn rhaid fod pob cyfundraeth yn anghywir ag sydd yn gosod allan unrhyw athrawiaeth mewn gwedd a fyddo yn tueddu i rwystro pechadur i ddyfod at Grist. Nid oes dim yn fwy amlwg na'r ffaith fod y Bibl yn dysgrifio yr holl iachawdwriaeth yn yfath fodd ag i roddi pob calondid i bechadur obeithio am ei fywyd trwy haeddiant y Gwaredwr; ac os bydd neb yn rhoddi y cyfryw olwg ar etholedigaeth, neu gyflwr dyn wrth natur, neu brynedigaeth, neu ailenedigaeth, fel ag i ddiddymu ystyr y geiriau grasusol hyny, "A'r hwn a ddel ataf fi, nis bwriaf ef allan ddim," bydd hyny ar unwaith yn ddigon i brofi ei fod heb ddeall ysbryd yr athrawiaeth. Dyma y perygl ar un llaw: ond y mae y perygl yn llawn cymaint ar y llaw arall, rhag wrth geisio dyrchafu dyn i ni roddi lle iddo dybied y gall fod yn gadwedig heb Grist. Dyma duedd Arminiaeth, a Phabyddiaeth, a Phuseyaeth. Y maent oll yn cyduno i osod cyfiawnder dyn yn lle y cyfiawnder sydd o Dduw, ac felly yn cuddio yr angenrheidrwydd am waith Crist; er fod gwahaniaeth rhyngddynt, trwy fod yr Arminiaid yn rhoddi mwy o bwys ar foesoldeb, a'r Pabyddion a'r Puseyaid yn rhoddi mwy o bwys ar ffurfioldeb, fel sylfaen cymeradwyaeth. Os oes rhai a alwant eu hunain yn Galfiniaid yn dysgu dynion i gredu nad oes iachawdwriaeth ddigonol i bawb yn Nghrist, y mae ysgrifenwyr Arminaidd a Phabaidd i'w cael drachefn y rhai a'u dysgant i gredu nad yw yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist yn ddigonol i neb, heb ryw ychwanegiad o'r eiddynt hwy eu hunain. Y maent oll yn colli golwg ar y safon, ac am hyny yn taflu rhwystr ar ffordd dyn i ddyfod fel y mae, yn bechadur colledig ar bob tir ynddo ei hun, at y Ceidwad yr hwn sydd yn anfeidrol ddigonol ac ewyllysgar i achub y penaf o bechaduriaid. Am yr ysgrifenwyr hyny drachefn sydd yn y canol rhwng yr eithafion hyn, nid yw yn rhesymol dysgwyl iddynt oll fod o'r un feddwl; ond pa wahaniaeth bynag a ddichon fod rhwng eu golygiadau, nis gallant gyfeiliorni yn beryglus tra fyddont yn "cyfattal y Pen, o'r hwn y mae yr holl gorph, trwy y cymmalau a'r cyssylltiadau, yn derbyn lluniaeth, ac wedi ei gydgyssylltu, yn cynnyddu gan gynnydd Duw." Fel y mae difrifoldeb mewn areithiwr yn peri iddo ymwrthod â phob addurniadau gau, ac â phob peth nad

yw yn perthyn i'r mater, felly os bydd y duwinydd o ddifrif am gael dynion at Grist, nis gall gyfeiliorni yn mhell i'r dde nac i'r aswy.

Ond heblaw bod yr athrawiaeth am Grist yn safon, y mae hefyd yn fywyd i bob athrawiaeth arall. Y mae y fath beth yn bod a dysgu y gwirionedd heb ei ddysgu "fel y mae yn yr Iesu;" ac nis gellir dysgwyl iddo felly effeithio ar neb, "i ddodi o honynt heibio, o ran yr ymarweddiad cyntaf, yr hen ddyn, yr hwn sydd lygredig yn ol y chwantau twyllodrus; ac ymadnewyddu yn ysbryd eu meddwl; a gwisgo y dyn newydd, yr hwn yn ol Duw a grewyd mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd." O'r ddau, y mae yn well cael rhyw fywyd, pe na byddai ond bywyd dynol, yn ei brydferthwch a'i amrywiaeth diderfyn, na'r traethawd mwyaf cywrain a manwl ar wirionedd dwyfol, heb fod ynddo un math o fywyd. Ac y mae yn rhaid addef am rai duwinyddion uniongred, eu bod yn yr ystyr yma yn dra diffygiol. Y mae ganddynt bynciau cryfion; ond o eisiau bywyd y mae eu holl bynciau, gyda'u rhaniadau a'u hadraniadau diddiwedd, yn rhy debyg i esgyrn sychion Ezeciel. Bywyd—dyma y dirgelwch nas gellir ei esbonio, yr hwn a elwir yn athrylith mewn awdwr, ac sydd yn achos o ddylanwad yr areithiwr ar feddyliau ei wrandawyr: a bywyd y Bibl, yr hwn sydd yn ei gyfaddasu dan fendith Duw i effeithio ar galon dyn yw yr Arglwydd Iesu Grist—nid Crist heb yr Ysbryd; ac nid yr Ysbryd heb Grist; oblegid gogoneddu Crist yw gwaith yr Ysbryd, ac o'r eiddo Crist y mae efe yn cymeryd, ac yn ei fynegu i ni. Am fod Crist yn fywyd y gair, y mae y gair trwy yr Ysbryd, yn fywyd yr eglwys hyd ddiwedd amser. Ond fel y mae yr hyn oedd yn sylwedd ac yn fywyd i'r neb a'i gwelodd ac a'i teimlodd yn myned yn hanes gwag i'r neb sydd yn ymfoddloni ar yr adroddiad yn unig; neu fel y mae yr hyn oedd yn fywyd, ac am hyny yn allu, mewn gwir areithiwr, yn rhwym o fod yn ddieffaith, am ei fod yn ddifywyd, yn y dynwaredwr, er iddo efelychu pob ystum ac agwedd i'r manylrwydd mwyaf, felly wrth fod duwinyddion yn cymeryd eu credo y naill oddiwrth y llall, y mae bywyd eu hathrawiaethau yn diflanu: a'r unig feddyginiaeth yw myned heibio i bob traddodiad at y ffynonell, at y gair, ac at Grist yn y gair. Er hyny, ni ddylid diystyru ysgrifeniadau y duwinyddion goreu; oblegid byddem felly yn profi ein bod yn ystyried ein hunain yn ddoethach na neb o'n cyd-ddynion. Wrth fyned at y Bibl, y mae yn angenrheidiol i ni ddefnyddio pob cynnorthwy tuag at ei iawn-ddeall, yn athrawiaethol yn gystal ag yn feirniadol; fel y mae pob dyn synwyrol, wrth fyned i chwilio unrhyw wlad drosto ei hun, yn gofalu am ddarllen a chymharu adroddiadau y teithwyr a fu yno o'i flaen. Y mae un yn ei

gyfarwyddo at y golygfeydd mwyaf hynod; y mae un arall yn rhoddi llawer o gynnorthwy trwy hysbysu y pellder o'r naill fan i'r llall; ac os bydd ganddo *fap* cywir, y mae hyny yn ei alluogi i ffurfio rhyw syniad am yr holl wlad ar unwaith. Yr hyn ydyw *map* i'r teithiwr, hyny ydyw Corff o Dduwinyddiaeth i'r efrydydd Ysgrythyrol. Os bydd y *map* yn gywir, y mae yn llawer o gynnorthwy; ond amgyffrediad ammherffaith fydd gan yr efrydydd os yw yn ymfoddloni ar hyny heb weled drosto ei hun: ac nid annhebyg yw y duwinyddion hyny sydd yn ffurfio eu barn yn hollol oddiwrth dduwinyddion eraill. "Chwiliwch yr Ysgrythyrau; canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol: a hwynthwy yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf fi." Pan ddeuwn at yr Ysgrythyrau, yr ydym yn dyfod i gyffyrddiad â bywyd; a'r achos o hyny ydyw, eu bod yn tystiolaethu am Grist. Gwlad ddigysur, gwlad ddigynhaliaeth, gwlad heb fywyd o'i mewn, yw y Bïbl ei hun i'r rhai sydd yn ei ddarllen heb weled Crist ynddo. Ond am y darllenwyr hyny sydd, yn ol geiriau yr Apostol, wedi dysgu Crist; nid wedi dysgu am dano yn unig, ond wedi ei ddysgu ef ei hun, a thrwy ei ddysgu ef wedi eu dysgu ynddo, megis y mae'r gwirionedd yn yr Iesu; y mae eu golygiadau ar athrawiaethau yr efengyl yn newydd er eu bod yn hen, fel y mae y dwfr sydd yn rhedeg o'r ffynnon mor newydd bob dydd â'r diwrnod y tarddodd allan gyntaf mewn ufudd-dod i orchymyn y Creawdwr; a phan draethant yn yr ysbryd hwn yr hyn y maent wedi ei weled, nid oes achos iddynt chwilio am ryw newydd-deb gwneuthuredig er mwyn bod yn wahanol i bawb arall, oblegid y mae newydd-deb bywyd yn eu golygiadau, a'r newydd-deb hwnw o angenrheidrwydd yn dyfod i'r golwg yn eu geiriau ac yn eu hysgrifeniadau.

Fe wel y darllenydd oddiwrth y sylwadau blaenorol, nad wyf yn tybied fod defnyddiad mynych o enw y Cyfryngwr mewn traethawd yn brawf digonol o fywyd: ac y mae mor ddiammheuol nad oes i ni feddwl fod yr holl dduwinyddion hyny yn amddifad o'r bywyd hwn, y rhai nid ydynt, mewn ffurf eglur a phendant, yn trin pob athrawiaeth yn ei chysylltiad uniongyrchol â'r Arglwydd Iesu Grist. Gellir traddodi darlith farw uwchben corff marw, i geisio dangos beth yw bywyd; ond lle y byddo bywyd mewn gwirionedd y mae yn dangos ei hun hyd yn nod pan na fyddo hyny yn brif amcan. Y peth ei hun yw y pwnc, ac nid yr enw. Os na fydd yr awdwr yn galw sylw at y sylfaen bob tro y mae yn ysgrifenu, y mae, wrth osod pob craeg yn ei lle, yn gofalu ei bod yn pwyso yn gywir ar y sylfaen. Ceir anghraifft nodedig o hyn yn ysgrifeniadau Luther. Nid yw efe wedi cyfansoddi cyfundraeth drefnus o dduwinyddiaeth,

i ddangos pa fodd y mae pob athrawiaeth yn dwyn perthynas â Christ; ond y mae yn hawdd gweled mai Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio, oedd enaid ei holl fyfyrdodau. Y mae, fel pob gwir dduwinydd, yn llawn o'r cyfriniol, yn yr un ystyr ag y gellir cymhwyso y gair, at ysgrifeniadau Ioan, a rhanau helaeth o epistolau Paul: hyny yw, yr oedd lle mawr yn ei gredo i'r gwirionedd, fod y crediniwr yn byw yn Nghrist, a Christ yn byw yn y crediniwr. Er iddo ymgadw yn llwyr oddiwrth yr eithafion yr aeth llawer o ddynion da iddynt ar y Cyfandir, a George Fox a'i ganlynwyr yn y wlad hon ar ol hyny; y rhai a ddychmygent fod modd iddynt dderbyn bywyd o Grist heb gyfrwng y gair, yr oedd yn rhoddi cymaint o bwys â neb o honynt ar yr undeb dirgeledig rhwng Crist a'i bobl. Y mae yr un bywyd, er yn wanach, i'w ganfod yn Melancthon ag oedd yn Luther. Nid yw yn llawn mor amlwg yn Calfin ag ydoedd yn Melancthon. Y mae yn llai amlwg yn Zuinglius, ac Oicolampadius, a'r lleill o'r Diwygwyr cyntaf, nag ydoedd yn Calfin. Y mae yn llai amlwg drachefn yn eu holynwyr, yn Holland, Lloegr, a Scotland. Ac yn Grotius, Tillotson, Barrow, Blair, &c., y mae bron wedi llwyr ddiflanu. Ond wrth son am deilyngdod cymhariaethol y duwinyddion, y mae yn angenrheidiol i ni gymeryd rheol wahanol i farnu y rhai nad ydynt yn ysgrifenu ond ar bynciau neillduol, a'r rhai hyny sydd yn proffesu eu bod yn rhoddi cyfundraeth gyflawn o dduwinyddiaeth, gan fod yn rhesymol i ni ddysgwyl fod dyben y rhai olaf yn effeithio i roddi trefn wahanol i'w holl gynllun. Pan fyddo y darlithiwr meddygol yn traethu am ryw aelod neillduol o'r corff, nid yw mor anhebgorol iddo gyfeirio sylw arbenig at y rhanau mwyaf bywydol, er y bydd yn cadw mewn golwg o hyd mai rhan o greadur byw, ac nid o beiriant marw, sydd ganddo dan ystyriaeth. Ond pan fyddo yn rhoddi darlith ar y corff dynol fel un cyfansoddiad, ac yn dangos perthynas yr holl ranau â'u gilydd, y mae yn rhaid iddo roddi y lle blaenaf i'r dirgelwch hwnw a elwir bywyd, ac er nas gall egluro pa beth ydyw, y mae yn gwneuthur a allo i ddangos pa fodd y mae yn effeithio yn, ac ar bob rhan o'r corff. Pe buasai Luther yn ysgrifenu "Corff o Dduwinyddiaeth," diammheu mai ei brif amcan fuasai dangos pa fodd y mae holl athrawiaethau y grefydd Gristionogol yn deilliaw o Grist, ac yn arwain at Grist. Yn y drysorfa hynod hono o'i ymddyddanion, y *Tischreden*, yr hon sydd yn llawn o feddyliau byw, er fod llawer o honynt yn ddigon afrywiog yr olwg arnynt, y mae yn dweyd mewn un man, "Y mae y Dduwinyddiaeth wir a didwyll yn sefyll yn yr ymarferol, y defnyddiol, a'r dysgyblaethol, a'i sylfaen a'i chadernid ydyw Crist; fod i un gymeryd gafael trwy ffydd yn

ei ddyoddefiadau, ei angau, a'i adgyfodiad ef. Ond y mae pawb nad ydynt yn y dyddiau hyn yn cydfyned â ni, ac yn derbyn ein dysgeidiaeth yn gwneuthur iddynt eu hunain ryw Dduwinyddiaeth ymresymiadol, gan eu bod yn arwain eu hunain yn ol rheswm fel y maent yn synied am bethau eraill; oblegid nis gallant fyned yn mhellach na'r meddwl, Gwyn fyd y dyn sydd yn gwneuthur daioni. Eithr nid felly y mae; ond gwyn fyd y dyn sydd yn ofni Duw, ac yn ymddiried ynddo."

---

## PENNOD V.

## CYNNYGION I GORFFORI Y DRYCHFEDDWL.

Ond er i ni gytuno am ddymunoldeb yr amcan, nid yw mor hawdd cael allan y cynllun goreu i'w ddwyn i weithrediad; ac er fod llawer o gynnygion wedi eu gwneuthur gan dduwinyddion diweddar, efallai nad yw yn ormod dyweyd nad oes neb hyd yma wedi llwyddo. Os rhoddir Crist yn ganolbwynt, pa fodd y gellir dangos y Tad a'r Ysbryd yn ogyfuwch â'r Mab? A than ba ben y ceir lle i gyflwr dyn wrth natur, heb olwg ar yr hwn nis gellir deall trefn cadwedigaeth? Y mae Nitzsch, ar ol cydnabod rhagoriaeth y drychfeddwl, yn gorfod cilio oddiwrtho yn ymarferol, ac yn ymfoddloni ar grynhoi y cwbl dan dri phen; *yn gyntaf*, Am y Da; *yn ail*, Am y Drwg; ac *yn drydydd*, Am yr Iachawdwriaeth. Y mae yn cyfeirio hefyd at amryw dduwinyddion eraill sydd wedi ceisio corffoli y drychfeddwl, ac yn fwyaf neillduol at Kling, yr hwn nid wyf wedi cael cyfle i ddarllen ei waith: ond y mae yn ymddangos ei fod ef yn traethu, *yn gyntaf*, Am y Duw-ddyn, fel delw Duw a chynddelw y ddynoliaeth. *Yn ail*, Am natur a gweinidogaeth y Cyfryngwr. *Yn drydydd*, Am waith y Cyfryngwr fel y mae yn cyrhaedd cwblhad trwy weithrediad yr Ysbryd Glân. Y mae hyn bron yr un peth â phe dywedasid, Am y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân. Ond y mae Nitzsch yn gwrthod y cynllun hwn, oblegid mai mewn ymddangosiad, ac nid mewn gwirionedd, y mae yn rhoddi lle i'r Drindod. Ond nid yw yn ymddangos fod llawer o rym yn yr wrthddadl hon. Y diffyg mwyaf yn y cynllun ydyw, ei fod yn rhoddi rhy ychydig o sylw i'r *angenrheidrwydd* am waith yr Arglwydd Iesu Grist. Nid oes modd rhoddi lle rhy uchel i berson a gwaith y Cyfryngwr; ond fel y mae rhai yn gwneuthur Duw yn ddim wrth geisio ei wneuthur yn bob peth, felly yr ydym mewn perygl i guddio gogoniant Crist wrth amcanu ei ddyrchafu,

os na roddwn le priodol i gyflwr dyn yn ei berthynas â Duw a'i ddeddf. Dylai y materion hyn gael lle mawr yn y rhan gyntaf, fel y maent yn nhraethawd yr Apostol Paul at y Rhufeiniaid, er mwyn dangos yr angenrheidrwydd am gyfryngdod Crist. Yn yr olwg ar golledigaeth dyn y gellir gweled Crist yn bob peth.

Y mae Ebrard, drachefn, yn rhanu ei Gorph Duwinyddiaeth yn dair rhan. Yn y rhan gyntaf, y mae yn traethu am Dduw fel Ffynhonell pob creadur; yn yr ail ran, am Dduw fel Cyfryngwr: ac yn y drydedd ran, am Dduw fel Cyflawnwr a Pherffeithiwr. Y mae yn edrych ar bob un o'r rhanau hyn mewn tri golygiad, ac felly yn rhanu pob un yn dair o adranau; sef drychfeddwl, bôd, a gogoneddiad. Dan y pen cyntaf, am Dduw fel Ffynhonell a dechreuad pob peth amserol, y mae yn sylwi, *yn gyntaf*, Ar y drychfeddwl am Dduw, yn ei darddiad, yn ei gynnwys, ac yn ei hanes: *yn ail*, y Bod o Dduw, fel y mae yn dri Pherson: ac *yn drydydd*, Yr amlygiad gogoneddus o Dduw yn y greadigaeth, yn ei briodoliaethau fel y maent yn dwyn perthynas â'r greadigaeth, ac yn ei Ragluniaeth. Yna y mae yn myned at yr ail ran, sef am Dduw fel Cyfryngwr. A than y pen hwn y mae yn sylwi, *yn gyntaf*, Ar y drychfeddwl am Waredwr; lle y mae yn traethu am y Cwymp, Pechod Gwreiddiol, yr Angenrheidrwydd am Iachawdwriaeth, a'r Angenrheidrwydd am un yn Waredwr heb fod o hiliogaeth Adda trwy genedliad naturiol: *yn ail*, Yr athrawiaeth am y Bôd o Waredwr; ac yma y mae yn traethu, *yn gyntaf*, Am athrawiaeth yr Ysgrythyr mewn perthynas i fodolaeth y Gwaredwr; *yn ail*, Athrawiaeth yr Eglwys am Berson Crist; ac *yn drydydd*, Ymchwiliad y rheswm o barth y pwnc hwn. Yna yr ydym yn cael y drydedd adran dan yr ail ben, lle y mae yn sylwi, yn gyntaf ar Swyddau Crist; yn ail, Gwaith Crist; ac yn drydydd, Undeb ei weinyddiaeth swyddol a'i hanes personol. Y trydydd pen yw Duw fel Perffeithiwr. Dan y drychfeddwl o Dduw fel Perffeithiwr, y mae yn sylwi ar Gyfiawnhad, Ailenedigaeth, ac athrawiaeth yr Eglwys, mewn perthynas iddynt. Yna y mae yn myned at y Bôd o Dduw fel Perffeithiwr, lle y mae yn cymeryd i mewn athrawiaeth yr Ysgrythyr am sefydliad yr eglwys Gristionogol, ac athrawiaeth yr eglwys ei hun mewn perthynas i'w natur. Yna y mae yn myned at waith Duw fel Perffeithiwr, lle y mae yn sylwi ar ei waith mewn personau unigol, perthynas y gwaith mewn personau a moddion gras, â pherffeithiad yr eglwys yn gyffredinol. Prin y gall neb weled fod y rhaniadau hyn yn naturiol. Y mae yma ormod o ymdrech celfyddydol i drefnu y cwbl yn dair rhan dan bob un o'r rhanau blaenaf, ac yn dair rhan eilwaith dan bob un o'r adranau. Ond

yr wrthddadl benaf yn erbyn y cynllun hwn eto, fel yr un blaenorol, ydyw, ei fod yn rhoddi lle rhy gyfyng i gyflwr dyn a drwg pechod. Yn lle eu gosod allan yn y pwys sydd yn perthyn iddynt, fel y maent yn wrthgyferbyniol i Dduw a'i ddeddf, y mae yn eu rhoddi i mewn dan yr ail ben fel rhan o'r drychfeddwl am Waredwr. Y mae hyn hefyd yn dinystrio undeb y traethawd, gan nad yw yr hyn a ddywedir am Dduw fel Creawdwr yn y rhan gyntaf yn dangos yr angenrheidrwydd o'r hyn a ddywedir am Dduw fel Gwaredwr yn yr ail ran.

O ran sylwedd ei gynllun, y mae Ebrard yn lled fanwl yn dilyn Calfin, yr hwn, er fod eraill wedi ysgrifenu crynodeb o'r athrawiaethau o'i flaen ef, oedd y cyntaf, er hyny, i'w gosod allan yn un gyfundraeth drefnus. Y mae Calfin yn cymeryd athrawiaeth y Drindod fel ei ddrychfeddwl llywodraethol. Mae yn wir ei fod yn rhanu y cwbl yn bedair rhan, trwy ei fod yn rhoddi un ran gyflawn, i draethu am yr Eglwys; ond gellid meddwl fod hyn yn cael ei achosi trwy ei fod yn ysbeilio y rhanau eraill o'r hyn oedd yn perthyn iddynt. Yn y rhan gyntaf, y mae yn traethu am waith y Tad; yn yr ail, am waith y Mab; yn y drydedd, am waith yr Ysbryd Glan; ac yn y bedwaredd, am yr Eglwys. Ond y mae yn cyfyngu y rhan gyntaf at waith Duw fel Creawdwr; ac o ganlyniad y mae yn gadael Cwymp Dyn, Rhyddid yr Ewyllys, Llygredigaeth y Natur Ddynol, a'r Ddeddf Foesol, i ddyfod i mewn dan yr ail ben, sef gwaith y Mab; ac yn rhoddi Cyfiawnhad trwy Ffydd, ac Etholedigaeth dan y trydydd pen, sef gwaith yr Ysbryd Glan. Daw cyfle eto i son am ddaliadau Calfin. Nid oes a fynom yma ond â natur ei gynllun yn unig. Hyd yn nod yn yr ystyr hwn yr oedd yn rhagori ar bawb a fu o'i flaen: ac y mae yn ammheus a oes neb ar ei ol wedi cael gafael ar gynllun gwell yn y drychfeddwl na'r eiddo ef. Er hyny, y mae yn anhawdd peidio tybied y buasai yn fwy cyflawn a chryno pe cymerasai olwg yn y rhan gyntaf, nid yn unig ar Dduw fel Creawdwr, ond hefyd fel Deddfroddwr, ac fel Trefnwr yr iachawdwriaeth. Felly buasai y rhan hon yn cynnwys Cwymp ac Etholedigaeth Gras. Mwy priodol hefyd i'r ail ran, am Waith y Mab, yw rhai o'r materion sydd ganddo yn y drydedd: a gallesid rhoddi yr oll o'r bedwaredd ran, am yr Eglwys, yn y drydedd, yr hyn a fuasai yn dwyn y cwbl i dri phen, sef Gwaith y Tad, Gwaith y Mab, a Gwaith yr Ysbryd Glan.

Y mae amryw wedi cynnyg at gynllun arall, er mwyn rhoddi mwy o le i'r *angenrheidrwydd* am waith y Prynedigaeth, ac hefyd oddiar y dybiaeth y dylent ddechreu gyda'r ffeithiau mwyaf syml, a mwyaf agos at ddeall a

theimlad y ddynoliaeth. Yn eu plith, un o'r duwinyddion enwoccaf yw Dr. Chalmers, yr hwn sydd yn dechreu ei Gorff Duwinyddiaeth gydag ymchwiliad ar dir rheswm mewn perthynas i'r Bôd o Dduw a Phrofion y Grefydd Gristionogol; wedi hyny, Yn dangos natur yr Afiechyd ar gyfer yr hwn y mae Meddyginiaeth yr Efengyl wedi ei darparu; yn nesaf, Natur Meddyginiaeth yr Efengyl; ac yn olaf, Helaethrwydd y Feddyginiaeth. Yna y mae yn rhoddi ychydig o bennodau ychwanegol, am y Drindod, am Berson Crist, ac am yr Ysbryd Glan. Mae y cynllun hwn yn gyfryw ag a ellid dysgwyl oddiwrth feddwl *Baconaidd* fel yr eiddo Chalmers; ac efallai y byddai yn foddlonrwydd i rai darllenwyr uniaith, gael cyfieithiad o'i resymau ef ei hun dros ei gynllun. "Gellwch gofio y crybwylliad a wnaethum amser yn ol am ddwy drefn wahanol i ddysgu athrawiaethau y dduwinyddiaeth Gristionogol, ac am egwyddor pob un o honynt. Y mae un yn myned ymlaen yn amseryddol yn ol trefn y weinyddiaeth Ddwyfol, yn dechreu gyda natur y Duwdod, ac yn dilyn camrau olynol yr hanes yr hwn sydd yn dechreu gyda bwriadau gwreiddiol y meddwl digrëedig, ac yn terfynu yn mherffeithiad pob peth. Y mae y llall yn myned ymlaen yn amseryddol yn ol trefn yr ymchwiliad dynol; yn dechreu, gan hyny, gyda thywyllwch, a thybiaethau, ac angenrheidiau duwinyddiaeth naturiol, ac ar ol cael allan fod yr Ysgrythyr yn ddadguddiad sylweddol o'r nefoedd i'r ddaear, yn chwilio yn gyntaf am yr hysbysiadau hyny sydd yn tueddu yn fwyaf uniongyrchol i leddfu trueni natur, ac i gyfarfod â'i hanhawsderau. Fel hyn y peth cyntaf a dynai y sylw yn naturiol wrth ddechreu ar y dystiolaeth ddwyfol, fyddai y cadarnhad y mae yn ei roddi i ofn a phryder natur mewn perthynas i raddau dychrynllyd llygredigaeth dyn a'i berygl. Oddiyma aem ymlaen i ystyried y feddyginiaeth a gynnygir: yna at y moddion trwy y rhai y mae y feddyginiaeth yn cael ei chymhwyso: yn nesaf, at ei heffeithiolrwydd, fel y mae yn cymmodi Duw a dyn, ac yn aileni dyn ar ddelw Duw: yna at sancteiddrwydd cynnyddol bywyd, yn aeddfedu dan ddylanwad gwirioneddau Cristionogaeth i ymarferiadau a llawenydd tragywyddoldeb dedwydd: ac yn olaf, at angau a barn, a sefyllfaoedd dyfodol y rhai sydd wedi derbyn Efengyl Iesu Grist, a'r rhai sydd wedi ei gwrthod." Dyma eglurhad Dr. Chalmers ei hun; ac nis gellir gwadu fod manteision pwysig yn perthyn i'r cynllun hwn. Ond un wrthddadl gref yn ei erbyn ydyw, ei fod yn ysgaru yn ormodol rhwng rheswm ac Ysgrythyr, rhwng y Bôd o Dduw a'r Drindod, a rhwng yr Iawn a Pherson yr Arglwydd Iesu Grist.

Lled gyffelyb ar y cyfan yw cynllun Schleiermacher, er ei fod yn cych-

wyn o safle gwahanol. Y mae efe yn dechreu trwy egluro natur Eglwys, oblegid, er ei fod yn y pegwn gwrthwyneb i'r Pabyddion, ac mewn rhyw bethau yn hanner anffyddiwr, eto nid yw yn ystyried un pwnc yn athrawiaeth Gristionogol, os na fydd yr eglwys Gristionogol wedi ei gyhoeddi. Ar ol dangos pa beth yw Eglwys, a pha beth yw Athrawiaeth, y mae yn myned ymlaen i draethu ar hanfod yr ymwybodolrwydd crefyddol yn ei gyflwr gwreiddiol; yr hyn yn ol ei farn ef sydd yn gynnwysedig mewn teimlad o ymddibyniaeth ar Dduw. Dan y pen hwn y mae yn cymeryd i mewn waith y grëedigaeth, y priodoliaethau dwyfol a eglurir yn y grëedigaeth, a pherffeithrwydd gwreiddiol y byd a dynoliaeth. Yna, yn yr ail ran, yr hon sydd yn llawer helaethach na'r llall, y mae yn traethu am yr ymwybodolrwydd crefyddol mewn cyflwr o wrthgyferbyniad. Dan y pen hwn y mae ganddo ddwy adran: yn gyntaf, y teimlad o bechod; ac yn ail, y teimlad o ras. Dan y teimlad o bechod y mae yn dangos pechadurusrwydd y natur ddynol, cyflwr y byd yn ei berthynas a phechod, a'r priodoliaethau dwyfol sydd yn dwyn perthynas â'r teimlad o bechod, sef sancteiddrwydd, cyfiawnder, a thrugaredd. Dan y pen arall, sef y teimlad o ras, y mae yn egluro yr athrawiaeth am Berson Crist a'i waith, am ailenedigaeth, a sancteiddhad, am etholedigaeth, am roddiad yr Ysbryd Glan, am yr Ysgrythyrau, y sacramentau, a gweddi, ac am y priodoliaethau dwyfol sydd yn dwyn perthynas a'r prynedigaeth, megis cariad a doethineb. Yna mewn attodiad y mae yn sylwi ar athrawiaeth y Drindod. Mae yn amlwg fod yma ddiffyg trefn, pe na byddai ond y ffaith fod y priodoliaethau dwyfol wedi eu gwahanu oddiwrth eu gilydd, a'u gwasgaru dan dri o wahanol benau. Mwy cryno yw y cynllun a ddilynir gan Schenkel. Nid wyf wedi cael cyfle i ddarllen ei waith: ond y mae yn ymddangos oddiwrth adolygiad a ymddangosodd yn y *Studien und Kritiken*, ei fod yn rhanu y cwbl dan dri phen; *yn gyntaf*, Yr angenrheidrwydd am Iachawdwriaeth; *yn ail*, Y cyfraniad o Iachawdwriaeth; ac *yn drydydd*, Cymundeb yr Iachawdwriaeth. Gellid enwi amryw eraill: ond nid oes un gwahaniaeth hanfodol rhyngddynt â'r rhai a goffawyd.

---

## PENNOD VI.

## ADGRYNHOAD.

GWELIR oddiwrth yr hyn a ddywedwyd uchod fod y rhai a ymgeisiant at undeb a threfn, yn sylfaenu eu cynllun ar un o ddwy egwyddor, naill ai

athrawiaeth y Drindod, neu gyfaddasrwydd yr Iachawdwriaeth i gyflwr ac anghen dyn. Ond y mae anhawsderau mawrion ar ein ffordd wrth ddilyn yr un a fynom o'r ddwy egwyddor ar wahan oddiwrth y llall. Os cymerir athrawiaeth y Drindod yn rheol, nid oes lle dyladwy yn cael ei roddi i dystiolaeth y Bïbl am ddrwg pechod. Ac o'r tu arall, os sylfaenir y cwbl ar gyfaddasrwydd yr Iachawdwriaeth i anghen dyn, mae yn anhawdd cael lle i'r athrawiaethau am y Bôd o Dduw, y Drindod, a'r Priodoliaethau dwyfol. Y mae yn naturiol gofyn, gan hyny, A oes dim modd eu huno â'u gilydd? Onid oes rhyw egwyddor fwy cyffredinol i'w chael, yr hon sydd yn cysylltu yr athrawiaeth am Dduw a'r athrawiaeth am bechod? Mae yn ymddangos y rhaid fod; oblegid yn yr olwg ar Dduw a'i Briodoliaethau yn unig y gwelir drwg pechod. Mae yn amlwg hefyd nad oes gwahaniaeth angenrheidiol rhwng y ddau gynllun gyda golwg ar y pwynt o'r hwn y maent yn cychwyn. Nid ydynt yn dechreu o angenrheidrwydd, fel y gellid tybied, y naill gyda Duw, a'r llall gyda dyn: oblegid y mae Dr. Chalmers ei hun yn dechreu gyda'r Bôd o Dduw; ond ei fod yn cyfyngu y prawf at yr hyn a ddysgir gan reswm heb gymhorth yr Ysgrythyr. Mae yn eglur, gan hyny, am y rhai sydd yn ddadleu dros ddechreu gyda chyflwr dyn, nas gallant gael sylfaen i'w hathrawiaeth heb fyned yn ol at y Bôd o Dduw. Ac am y rhai sydd yn cymeryd athrawiaeth y Drindod yn sylfaen eu trefn, nid yw yn hawdd gweled paham nad allant ddwyn y gwirionedd am ddrwg pechod i mewn dan yr un pen a'r Bôd o Dduw; oblegid pa reswm a ddichon fod dros draethu am Dduw dan y pen cyntaf yn ei gysylltiad a dyn fel creadur, a gadael allan y berthynas sydd rhyngddo ag ef fel pechadur?

Ond nid ydym eto wedi cael allan y gwirionedd sydd yn uno y ddwy egwyddor â'u gilydd. Efallai y daw i'r golwg wrth sylwi pa beth yw yr un diffyg cyffredinol sydd yn perthyn i'r ddwy. Y mae y naill fel y llal yn rhoddi lle arbenig i Waith Crist yn yr ail ran: ond nid oes un o honynt yn dangos yr athrawiaethau yn mhob rhan, fel y maent yn cael eu gosod allan yn Bïbl, mewn cysylltiad ag Ef, yn yr Hwn y mae pob peth yn cydsefyll. Yn ol y cynllun cyntaf, cyflwynir un rhan yn hollol i waith y Tad, heb un olwg ar Grist a'i waith: ond yn y Bïbl yr ydym yn cael fod y Tad yn cael ei amlygu trwy y Mab. Yn ol yr ail gynllun, rhoddir lle helaeth yn y rhan gyntaf i gyflwr dyn, ac y mae hyn yn ymddangos i ryw raddau yn fwy perthynasol; ac eto, nid yw y berthynas mor eglur, nac mor agos ag y mae yr Ysgrythyr yn ei gosod allan. Nid fel parotoad yn unig i'r amlygiad o Waith Crist y mae y Bïbl yn dangos pechadurusrwydd y natur ddynol:

ond megis mai trwy y Mab y mae i ni adnabod y Tad, felly trwy y Mab, y mae i ni weled drwg pechod. "Hwn ydoedd y gwir oleuni, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd." Y gofyniad, gan hyny, ydyw, Pa fodd y mae y Gair Tragywyddol yn rhoddi goleuni ar bob athrawiaeth? Pa fodd y mae i ni edrych ar y gwirionedd am Grist, nid yn unig fel un gwirionedd yn mysg gwirioneddau eraill, ond fel canolbwynt yr holl wirioneddau?

Y mae hen bwnc, yr hwn sydd wedi bod unwaith mewn bri mawr, a'r hwn, pe deallem ef yn gywir, a phe defnyddiem ef yn iawn, a allai fod yn sylfaen i Gorff o Dduwinyddiaeth ar gynllun mwy Ysgrythyrol na'r rhan fwyaf sydd eto wedi ymddangos. Y pwnc hwn, yn syml, yw Swyddau Crist. Nid syniad mympwyol o eiddo yr hen Dduwinyddion yw yr athrawiaeth am Grist fel Prophwyd, Offeiriad, a Brenhin. Y mae yn tarddu yn angenrheidiol o natur pethau: oblegid nid yw crefydd wedi bod, ac nis gallai fod mewn un wlad nac un oes wedi y cwymp, heb yr holl swyddau hyn; ac nis gall fod unrhyw swydd nad yw yn gynnwysedig yn y tair yma. Nis gall teulu fod yn deulu crefyddol, ac nis gall eglwys fod yn eglwys Gristionogol, heb fod ynddynt dri pheth, sef addysg, addoliad, ac arolygiad. Y mae pob gallu, o bob math, yn yr holl fyd, yn perthyn i un o'r tri dosbarth; ac o ganlyniad, y mae yn rhaid y gellir edrych ar waith Crist mewn tri golygiad, y prophwydol, yr offeiriadol, a'r brenhinol. Nid oes yma ddim newydd: ac y mae rhyw argraff ar fy meddwl fy mod wedi darllen am rai yn ceisio cyfansoddi cyfundraeth o dduwinyddiaeth ar yr egwyddor hon. Pa fodd bynag, wrth roddi y sylwadau blaenorol at eu gilydd, cefais fy argyhoeddi fod mwy yn y cynllun hwn nag yr oeddwn wedi ei ddychymygu. Ar y cyntaf, y mae yn anhawdd canfod pa fodd y gellir yn naturiol ddwyn i mewn yr athrawiaethau am y Bôd o Dduw a drwg pechod dan un o swyddau yr Arglwydd Iesu, a phaham dan y naill mwy na'r llall. Ond pa beth yw gwaith neillduol Crist fel prophwyd? Onid dysgu y byd am Dduw yn y lle cyntaf, a dangos moesoldeb a phechod fel y maent yn dwyn perthynas â Duw? Ond wrth fyned ymlaen, yr ydym yn cyfarfod ag anhawsder arall yn tarddu o'r duedd gyffredin i ehangu y swydd brophwydol yn ormodol, a'i hestyn i diriogaethau y swyddau eraill. Dywedir fod Crist yn dysgu y byd am dano ei hun, am ei berson a'i waith, am gyfiawnhad, ac ailenedigaeth, am yr adgyfodiad, am y nefoedd ac uffern: ac felly gellir cynnwys holl athrawiaethau yr efengyl dan y swydd brophwydol. Mae yn sicr fod yr *angenrheidrwydd* am Iawn, ac am gyfnewidiad cyflwr a chalon, yn rhanau o'r gwirioneddau

a ddysgir gan Grist fel prophwyd: ac y mae hefyd fel prophwyd wedi taflu goleu newydd ar y byd tu draw i'r bedd. Ond pan eir yn mhellach na hyn, yr ydym yn myned tuhwnt i derfynau y swydd brophwydol, yr hon sydd yn barotoawl i'r swydd offeiriadol, fel y mae y swydd offeiriadol yn barotoawl i'r swydd frenhinol. Yr hyn sydd yn arddangosiad neillduol a phriodol o natur y swydd brophwydol, yw yr addysg a roddodd Crist, mewn rhan trwy ysgrifenwyr yr Hen Destament, ac yn fwy cyflawn trwy ei bregethau; yr hyn sydd yn sylfaen ac yn hanfod yr holl weinyddiad o'r swydd offeiriadol yw yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd Crist pan oedd ar y ddaear; ac yna y mae ei waith yn ei eglwys o amser ei adgyfodiad hyd ddiwedd amser yn perthyn yn fwyaf arbenig i'w swydd frenhinol. Yn y tri chyfnod yma y gwelir natur y tair swydd yn fwyaf amlwg. Mae yn wir na dylid gwahanu y swyddau, er y dylid eu gwahaniaethu. Yn mhob gwir undeb y mae delw y cyfan ar bob rhan. Yn nghadwedigaeth pob person unigol yn mhob oes, y mae Crist yn gweithredu yn ei dair swydd; yn ei ddysgu yn gyntaf fel prophwyd; yn ail, yn eiriol drosto fel offeiriad; ac yn olaf, yn ei lywodraethu fel brenhin. Ond yr hyn sydd wir am bob rhan sydd yn wir hefyd mewn ystyr helaethach am y cyfan. Yr hyn y mae Crist yn ei wneuthur yn hanes pob dyn a gedwir, hyny y mae wedi, ac yn, ei wneuthur mewn modd arbenig yn hanes yr eglwys yn gyffredinol. Fel prophwyd yr oedd, ac y mae, yn parotoi y byd i dderbyn yr Iachawdwriaeth; fel offeiriad aberthodd ei hun i wneuthur Iachawdwriaeth, ac yn yr un swydd y mae yn cyflwyno ei hun fel Iawn tragywyddol yn y nefoedd; ac fel brenhin y mae yn casglu deiliaid ewyllysgar i fod yn eiddo iddo byth, ac yn dwyn ymlaen yr holl weinyddiad o fendithion yr Iachawdwriaeth, ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd.

Y mae Hofmann yn dadleu gyda llawer o egni a medrusrwydd fod swydd brophwydol Crist yn darfod gyda'i bregethau olaf, ac nad oedd ei weinyddiad o'r swydd frenhinol yn dechreu hyd nes ar ol ei adgyfodiad. Mae yn sicr fod llawer o weithredoedd Crist yn cael eu cyfrif yn fynych i'r swydd brophwydol, y rhai sydd yn perthyn yn hytrach i'w swydd frenhinol. Ond efallai mai gwell fyddai edrych arnynt fel yn cydredeg a'u gilydd, ac i raddau yn rhedeg i'w gilydd fel y lliwiau yn yr enfys. Fel hyn y mae holl waith Duw. Y mae priodoliaethau y byd llysieuol i'w gweled yn y byd anifeilaidd, a phriodoliaethau y byd anifeilaidd i'w gweled mewn creaduriaid rhesymol. Ond nid yw hyn yn profi nad oes gwahaniaeth hanfodol rhwng llysiau ac anifeiliaid, a rhwng anifeiliaid a dynion. Y mae yr un peth yn dyfod i'r golwg yn mywyd pob Cristion. Nid yw

yn peidio edifarhau ar ol credu, nac yn peidio credu ar ol ei aileni; ond nid yw hyn yn profi nad oes gwahaniaeth rhwng argyhoeddiad, a chyfiawnhad, ac ailenedigaeth; ac nad ydynt yn perthyn yn fwy arbenig, i ryw gyfnodau pennodol yn hanes y Cristion. Felly yn hanes Iesu Grist, nis gall fod un amheuaeth nad oedd ei weinidogaeth gyhoeddus yn perthyn yn fwyaf neillduol i'w swydd brophwydol, yr hanes o sefydliad Swper yr Arglwydd hyd ei adgyfodiad yn perthyn yn fwyaf neillduol i'r swydd offeiriadol, a'i waith yn ei eglwys ar ol ei adgyfodiad yn perthyn yn fwyaf neillduol i'r swydd frenhinol. Yr hyn sydd wir am hanes Crist, pen yr eglwys, sydd wir am hanes yr holl eglwys yn gyffredinol. Yr hyn sydd yn rhoddi hynodrwydd i'r hen oruchwyliaeth yw prophwydoliaeth; yr hyn sydd yn rhoddi hynodrwydd i oruchwyliaeth y Testament Newydd yw brenhiniaeth Crist, neu "deyrnas nefoedd;" a'r cyfwng yn yr hwn y mae y ddwy yn cyfarfod, ac o'r hwn y mae ystyr a grym yn cyrhaedd yn ol i'r oruchwyliaeth brophwydol, ac ymlaen i'r oruchwyliaeth frenhinol, yw y cyflawniad o waith mawr y swydd offeiriadol. Gan hyny, wrth sylfaenu cyfundraeth o dduwinyddiaeth ar Swyddau Crist, yr ydym yn dilyn y dadblygiad o'r gwirionedd fel y rhoddwyd ef gan Dduw ei hun, ac yn cael y fantais o ddangos athrawiaethau y grefydd Gristionogol mewn ffurf hanesiol, yr hon yw y ffurf Ysgrythyrol.

Ond wrth ddangos yr athrawiaethau yn ol eu perthynas amseryddol, yr ydym hefyd, yn ol y cynllun hwn, yn cadw at eu perthynas yn ol trefn a natur pethau. Gwaith Crist fel prophwyd er dechreu y byd, oedd dysgu *egwyddorion* crefydd, egwyddorion na wyddai y byd ddim am danynt y tu allan i gylch ei ddysgeidiaeth ef, egwyddorion tragywyddol, y rhai a ddygwyd ganddo fel offeiriad i weithrediad mewn cydgyfarfyddiad â'u gilydd, a'r rhai a gorfforir ganddo yn ei eglwys fel Brenhin. Y mae fel prophwyd wedi rhoddi goleu newydd ar y ddeddf foesol, ar ddrwg pechod, ar natur gwir sancteiddrwydd. Ond pa fodd y mae wedi dangos yr holl egwyddorion hyn? Y mae yr ateb yn hawdd ac yn unplyg. Trwy ddwyn Duw i'r golwg, a thrwy ddangos pob peth yn ei berthynas â Duw. Gan hyny, y mae ei holl waith fel prophwyd yn gynnwysedig yn y pen hwn, ei waith yn dadguddio Duw i'r byd; nid fel y mae Duw ynddo ei hun yn unig, ond fel y mae yn dwyn perthynas â dyn. Gwaith y Mab fel prophwyd yw dangos y Tad. Felly y mae y cynllun hwn yn meddu yr holl fanteision a berthynant i'r rhai hyny sydd yn seiliedig ar athrawiaeth y Drindod, ac ynglyn a hyny, yn rhoddi arbenigrwydd yn y rhan gyntaf i'r anghenrheidrwydd am Iachawdwriaeth. Ond y mae y Mab fel prophwyd,

heblaw dangos Duw fel deddf-roddwr, wedi ei ddangos hefyd yn Dduw trugarog a graslawn; ac am hyny y mae y pen hwn yn cymmeryd i mewn etholedigaeth, cyfammod gras, a phob athrawiaeth y gellir edrych arni fel dadguddiad o Dduw, yn rhagflaenol i waith y Mab fel Offeiriad.

Y mae yr holl egwyddorion hyn yn cael eu huno â'u gilydd, fel un gyfran gyflawn o Dduwinyddiaeth, yn swydd Brophwydol Crist; oblegid, mai efe, fel Prophwyd, sydd wedi eu dadguddio. Y mae Duwinyddiaeth yn cynnwys mwy na hyn; oblegyd, heblaw yr hyn a ddysgir i ddynion gan Grist fel Prophwyd am Dduw, y mae y Bibl yn traethu hefyd am yr hyn a wnaeth Crist dros ddynion fel Offeiriad, i'w cael yn ol at Dduw, ynghyd a'r hyn y mae yn ei wneuthur iddynt ar ol eu cael yn ol fel Brenin. Ond hyd yn nod gyda golwg ar yr egwyddorion, nid yw yr hyn a ddarganfyddir trwy rym rheswm yn deilwng o sylw mewn Corff o Dduwinyddiaeth, oddieithr i ddangos yr angenrheidrwydd am ddadguddiad Dwyfol: a phe cesglid ynghyd yr holl wirioneddau am Dduw, y rhai y mae y natur ddynol wedi eu cael allan heb gymhorth y gyfrol sanctaidd, gellid cynnwys y cwbl mewn lle bychan. Yn ngwyneb hyn, dichon y gofynir gan rai, Pa beth yw swydd rheswm? Onid yw gwaith y greadigaeth yn profi fod Duw? Onid yw ei dragywyddol allu Ef, a'i Dduwdod, i'w gweled yn amlwg, wrth eu hystyried yn y pethau a wnaed, hyd onid yw pawb yn ddiesgus? Os nad oes gan ddyn, fel creadur, gynneddfau i adnabod Duw, ac i ganfod drwg pechod, pa fodd y mae yn gyfrifol? Yr ateb ydyw, fod tri pheth yn ofynol i gyflawni pob gorchwyl; *yn gyntaf*, deall yr anhawsderau, neu yr ammodau anhebgorol, y rhai y mae yn rhaid cyfarfod â hwynt; *yn ail*, gwneuthur y gwaith i gyfateb i'r ammodau; ac *yn drydydd*, dwyn y cwbl i weithrediad ymarferol, a llywodraethu y cwbl i ateb y dyben oedd mewn golwg. Dyma y tair swydd yr ydym yn son am danynt. Am yr hyn sydd yn perthyn i'r ddwy swydd olaf, nid oes gan ddyn allu naturiol i'w ddarganfod, er fod ei reswm yn dyweyd ei fod yn gywir ar ol iddo gael dadguddiad o hono. Ond am waith y swydd gyntaf, sef esbonio anhawsderau ac ammodau y gorchwyl, y mae ganddo allu digonol fel creadur rhesymol i'w gyflawni mewn rhan: ond y mae y goleuni oedd ynddo fel creadur wedi myned trwy bechod yn dywyllwch. Fel y dywed yr Apostol, yn y bennod gyntaf o'i Lythyr at y Rhufeiniaid, "Oblegyd a hwy yn adnabod Duw, nis gogoneddasant ef megys Duw, ac na buont ddiolchgar iddo; eithr ofer fuont yn eu rhesymau, a'u calon anneallus hwy a dywyllwyd." Y mae dyn wrth natur, nid yn unig wedi myned yn analluog i ateb y gofyniad, ond wedi myned yn rhy anfedrus i weled yr

anhawsder. Yr hyn a wnaeth Crist fel Prophwyd, oedd rhoddi goleuni dwyfol ar ofyniad mawr yr oesoedd; yr hyn a wnaeth fel Offeiriad, oedd rhoddi atebiad gweithredol i'r gofyniad; a'r hyn y mae yn ei wneuthur fel Brenin, yw dwyn ymlaen y dybenion ymarferol a chyffredinol oedd ganddo mewn golwg wrth roddi yr atebiad.

Yn ol y cynllun hwn, yr ydym yn dechreu gyda'r ffaith syml fod y fath un â Iesu Grist wedi bod yn y byd. Yn lle profi dwyfoldeb y Person oddiwrth ddwyfoldeb y llyfr, yr ydym yn profi dwyfoldeb y llyfr oddiwrth yr hanes am y Person. Nid ydym yn cymeryd dim yn ganiataol, nac yn gofyn dim ond yn unig i'r Bibl gael yr un cyfiawnder â phob llyfr arall. Y peth cyntaf sydd genym i'w wneuthur yw, profi y ffaith; ac yn ail, dangos fel y mae y ffaith hon yn rhoddi ystyr ac argraff ddwyfol i'r holl lyfr. Y mae llawer o ymdrech yn cael ei wneuthur y dyddiau hyn i brofi nad oes un cyfeiriad at Grist mewn rhyw ranau neillduol o'r Hen Destament: ond nid mewn rhyw ranau yn unig y mae cyfeiriad ato, ond yn yr holl Fibl, o'i ddechreu i'w ddiwedd. Os oedd dysgeidiaeth Crist ei hun yn ddwyfol, y mae yn rhaid fod yr holl Fibl yn ddwyfol, oblegyd yr un yw y cwbl. Yna, gellir myned ymlaen at gynnwys y llyfr fel y mae yn dangos Crist yn ei dair swydd, a cheisio dwyn i'r golwg y gweithredoedd sydd yn perthyn i'r swyddau hyny. Nid yw y rhaniadau a ganlyn mewn un modd yn berffaith; ond gallant wasanaethu fel angraifft:—

I. Crist fel Prophwyd, yn amlygu Duw.

1. Crist yn amlygu yr hyn ydyw Duw ynddo ei hun. (1.) Y Bôd o Dduw. (2.) Y Priodoliaethau Dwyfol. (3.) Y Drindod.

2. Crist yn amlygu yr hyn a wnaeth Duw i ddyn fel creadur; a thrwy yr amlygiad o Dduw, yn amlygu cyflwr dyn fel pechadur. (1.) Creu dyn yn sanctaidd. (2.) Y Cyfammod Gweithredoedd. (3.) Y Ddeddf.

3. Crist, yn ganlynol i gwymp dyn, yn amlygu bwriad grasol Duw i'w waredu. (1.) Y Cyfammod Gras. (2.) Etholedigaeth. (3.) Addewidion a Rhagarwyddion.

II. Crist fel Offeiriad yn gweithredu Iachawdwriaeth.

1. Yr hyn ydyw Crist fel Offeiriad ynddo ei hun. (1.) Gwir Dduw. (2.) Gwir Ddyn. (3.) Un Cyfryngwr.

2. Yr hyn a wnaeth Crist fel Offeiriad dros ddynion. (1.) Byw yn sanctaidd. (2.) Marw yn Aberth. (3.) Cyflwyno ei waed yn y sancteiddiolaf.

3. Yr effeithiau ar ddynion o'r hyn a wnaeth Crist fel Offeiriad drostynt. (1.) Cyfiawnhâd. (2.) Ailenedigaeth. (3.) Sancteiddiad.

III. Crist fel Brenin yn Llywodraethu ei Eglwys.

1. Yr hyn ydyw Crist fel Brenin ynddo ei hun. (1.) Pen yr Eglwys. (2.) Pob awdurdod ganddo er mwyn yr Eglwys. (3.) Presennoldeb gwastadol, trwy yr Ysbryd, yn yr Eglwys.

2. Yr hyn y mae Crist yn ei wneuthur fel Brenin trwy yr Ysbryd yn yr Eglwys. (1.) Gosod i fynu Deyrnas iddo ei hun, mewn gwrthgyferbyniad i'r Byd. (2.) Darostwng ei holl elynion. (3.) Barnu.

3. Effeithiau yr hyn y mae Crist yn ei wneuthur fel Brenin.—(1.) Tragywyddol ddedwyddwch y saint. (2.) Tragywyddol fuddugoliaeth y da ar y drwg. (3.) Tragywyddol ogoniant i'r Drindod, a Duw oll yn oll.

---

## PENNOD VII.

## HANES DUWINYDDIAETH.

Hyd yma y mae ein golwg wedi ei gyfeirio yn benaf at y *ffurf*, yr hyn sydd wedi ei esgeuluso yn ormodol gan dduwinyddion, hyd yn nod y rhai sydd yn proffesu eu bod yn casglu yr holl athrawiaethau yn un gyfundrefn. Yn y wlad hon yn enwedig, nid oes nemawr wedi amcanu at un math o unoliaeth: ac yn y traethawd olaf sydd yn deilwng o'r enw, "Corff o Dduwinyddiaeth," sef yr eiddo Dr. Alexander, yn yr argraffiad olaf o'r *Encyclopædia Britannica*, y mae yr hên raniadau yn cael eu cadw. Yn *gyntaf*, yr ydym yn cael *Theology*, neu yr athrawiaeth am Dduw; yn *ail*, *Anthropology*, neu yr athrawiaeth am Ddyn: yn *drydydd*, *Christology*, neu yr athrawiaeth am Grist; ac yn *bedwerydd*, *Soteriology*, neu yr athrawiaeth am Drefn yr Iachawdwriaeth. Ond, efallai, y byddai yn anhawdd cael gwell cynllun heb un drychfeddwl llywodraethol, na'r un a ddilynwyd gan Dr. Lewis, er nas gallwn weled am rai athrawiaethau paham y mae yn eu rhoddi dan y naill ben yn hytrach na rhyw ben arall. Y gwirionedd ydyw, fod yn fwy anhawdd cyfleu pob athrawiaeth, wrth wneuthur rhaniadau heb un rheol gyffredinol, heblaw ein bod yn colli y fantais o weled yr holl athrawiaethau yn eu perthynas â'u gilydd, yn gystal ag â'r drychfeddwl sylfaenol. Ond, efallai, fod hyn yn ddigon o barth y *ffurf;* ac y byddai yn well myned ymlaen i sylwi o hyn allan ar *gynnwys* y cyfundraethau duwinyddol, neu ranau o gyfundraethau, fel y ceir hwynt yn ysgrifeniadau yr awdwyr hyny, y rhai y mae eu henwau.

yn gofgolofnau yn Hanes yr Eglwys Gristionogol. Ond yn y lle cyntaf, byddai yn fuddiol i ni gymeryd golwg gyffredinol, er yn frysiog, ar hanes Duwinyddiaeth trwy yr holl oesoedd, o ddyddiau yr apostolion hyd yn awr, cyn dechreu traethu yn fwy neillduol ar gynnyrchion y gwahanol gyfnodau.

Un o'r addysgiadau cyntaf a gawn wrth sylwi ar hanes crefydd ydyw, fod rhyw athrawiaethau yn dyfod i oleuni a bri mewn modd arbenig ar ryw amserau pennodol. Mewn un cyfnod, yr athrawiaeth am Berson Crist oedd yn brif destun ymchwiliad; mewn cyfnod arall, Pechod Gwreiddiol; yna, Cyfiawnhâd trwy Ffydd; wedi hyny, Ailenedigaeth. Ond a oes un reol i'w chael i roddi cyfrif am y drefn yn yr hon yr oedd y gwirioneddau hyn yn dyfod dan sylw? Os ydym yn credu fod yr holl fyd gweledig, a holl amgylchiadau dynolryw, dan lywodraeth doethineb Ddwyfol, nis gallwn dybied mai damwain sydd yn llywodraethu yr eglwys. Ac os edrychir yn bwyllog i hanes crefydd, o ddechreu y byd hyd yn awr, efallai fod yr un egwyddorion ag a ddygwyd ger bron yn y bennod o'r blaen, wrth ranu yr athrawiaethau dan wahanol benau, i'w gweled yn y dadblygiad o'r gwirioneddau dwyfol mewn cyfnodau olynol. Os yr amcan blaenaf dan yr Hen Oruchwyliaeth oedd dadguddio Duw i'r byd, y mae mor amlwg mai prif destun yr eglwys o ddechreuad Goruchwyliaeth y Testament Newydd hyd yn awr yw offeiriadaeth Crist. Mae yn ddiau, fel y dywedwyd o'r blaen, ei fod ef yn gweithredu yn mhob oes yn ei holl swyddau; eto, nid yw hyn yn profi nad yw rhyw gyfnod yn perthyn yn fwy neillduol i ryw un swydd; ac nid yw yn profi chwaith, nad yw natur a gwaith rhyw un swydd yn cael eu dadguddio yn fwy amlwg, hyd yn nod pan y mae efe yn gweithredu yn fwy neillduol mewn swydd arall. Yn ei farwolaeth, mae yn sicr ei fod yn gweithredu yn fwyaf arbenig fel Offeiriad; ac er hyny, ni ddaeth natur ei offeiriadaeth i oleuni yn meddyliau ei ddysgyblion hyd ddydd y Pentecost. Felly nid oes un anghysondeb mewn tybied, mai offeiriadaeth Crist yw prif bwnc yr eglwys er dyddiau yr apostolion, er mai fel Brenin yn benaf y mae yn awr yn dwyn ei waith yn mlaen yn ei eglwys ar y ddaear. Yr oedd yn angenrheidiol iddo gyflawni y gorchwyl mwyaf oedd yn perthyn iddo fel Offeiriad ryw ysbaid o amser cyn y gallasai ei eglwys ddeall natur ei offeiriadaeth; ac yn yr un modd y mae yn ymddangos fod yn angenrheidiol iddo weithredu yn hir fel Brenin cyn y gall natur ei freniniaeth ddyfod i'r golwg. Y mae sail i gredu, mai hwn yw y pwnc mawr nesaf sydd i'w ddadguddio i'r byd; ac mai trwy ddangos y gwirionedd hwn yn ei ogoniant a'i bwys-

fawredd y bydd Ysbryd Duw yn dwyn i mewn lwyddiant mawr y Mil Blynyddoedd. Hyd yma, pa fodd bynag, prin y gellir dweyd fod Cristionogion yn gyffredin mewn un oes wedi cael cymaint ag un drem ar natur brenhiniaeth Crist. Un ai wrth ddal y dylai Crist gael ei gydnabod yn Frenhin ar bob teyrnas ddaearol, y maent yn diddymu ei awdurdod yn ei eglwys; neu wrth geisio amddiffyn ei frenhiniaeth yn ei eglwys, y maent ýn milwrio yn erbyn ei awdurdod fel Brenhin brenhinoedd.

Ond gan nad pa un a yw y golygiad hwn yn gywir am yr amser dyfodol ai peidio, y mae yr hyn a ddywedwyd am yr amser a aeth heibio yn eglur tu hwnt i bob amheuaeth; oblegid y mae pob diwygiad cyffredinol, hyd yma, yn yr eglwys Gristionogol, wedi ei achosi trwy y dadguddiad o ryw wirionedd yn dwyn perthynas ag offeiriadaeth Crist. Gwirionedd mawr sylfaenol y Diwygiad Protestanaidd oedd, Cyfiawnhâd trwy Ffydd. Er fod y Diwygwyr, yn y canlyniad, yn cael eu gorfodi i ymwrthod ag awdurdod y Pab, ni wnaethant ond trosglwyddo ei awdurdod ef i ddwylaw brenhinoedd a thywysogion daearol, yr hyn sydd wedi bod yn rhwystr ac yn wanychdod i grefydd Crist hyd y dydd hwn. Mae yn wir eu bod yn talu gwarogaeth i'r Ysgrythyrau fel unig safon eu cred, yr hyn sydd wedi peri i haneswyr wahaniaethu rhwng *mater* y Diwygiad, sef Cyfiawnhâd trwy Ffydd, â *ffurf* y Diwygiad, sef awdurdod yr Ysgrythyrau. Ond yr hyn a achosodd y Diwygiad oedd y cyntaf. Cawsant olwg ar y gwirionedd mawr o Gyfiawnhâd trwy Ffydd;—dilynasant ef yn ffyddlawn, er iddo eu harwain i ymwrthod â hên draddodiadau yr Eglwys Babaidd; ac y mae yn ddiau i awdurdod Crist ar gydwybodau dynion, fel personau unigol, wawrio i raddau ar eu meddyliau yn y canlyniad: ond am ei awdurdod fel Unbenaeth yn ei eglwys nid oedd ganddynt un syniad. Yr un modd am Ddiwygwyr y deyrnas hon,—y Puritaniaid, yr Anghydffurfwyr, a'r Methodistiaid, a'r Henaduriaethwyr Efengylaidd yn Scotland; eu hamcan blaenaf oedd llafurio hyd y gallent i achub eneidiau, trwy gyhoeddi sefyllfa golledig dyn, a Christ yn unig Geidwad. Daeth rhai o honynt, trwy hyny, i gyffyrddiad â'r gwirionedd, mai Crist yw Pen yr Eglwys; gan nas gellir deall un dosbarth o athrawiaethau yn dda, heb fod hyny yn rhoddi goleu ar ddosbarthiadau eraill o athrawiaethau. Er hyny, nid anmharch arnynt yw dywedyd, na chafodd brenhiniaeth Crist sylw neillduol ganddynt, fel pwnc oedd yn deilwng o ystyriaeth er ei fwyn ei hun: ac am hyny, mai ammherffaith oedd eu golygiadau hwy, ac ydyw golygiadau eu holynwyr hyd heddyw, wrth geisio rhoddi ateb i'r gofyniad, Pa fodd y gall eglwys Crist fod dan ei awdurdod ef fel ei hunig Ben a'i

Brenhin, a'r llywodraeth wladol fod ar yr un pryd yn llywodraeth grefyddol? Gwnaethant hwy eu gwaith yn ffyddlawn yn ngwyneb pob gwrthwynebiadau; ond yr oedd y gwaith hwnw yn gynnwysedig gan mwyaf mewn goleuo y wlad am rai o'r prif athrawiaethau oedd yn dwyn perthynas ag offeiriadaeth Crist.

Pe cymerem, fel anghreifftiau, rai o'r athrawiaethau sydd yn perthyn i frenhiniaeth Crist, bydd yn amlycach eto fod y tymhor i ddeall y gwirionedd mawr hwn yn ëangder ei gynnwysiad heb wawrio hyd yn hyn ar yr eglwys Gristionogol. A oes mwy na rhyw olwg achlysurol wedi ei gael eto ar bresennoldeb gwastadol Crist yn ei eglwys? Nid y gofyniad yw, a ydyw yn bresennol y dyddiau hyn; ond a ydyw ei bresennoldeb wedi dyfod yn wirionedd byw yn nheimlad cyffredinol yr eglwys. Ar un llaw, edrychir ar eglwysi fel cydgyfarfyddiad o ddynion crefyddol, heb fwy o ddoethineb yn eu barn, na mwy o rym yn eu penderfyniad, nag sydd yn tarddu o'u synwyr hwy eu hunain. Ar y llaw arall, sonir am ryw awdurdod ddynol i'r hon y dylai pawb ymostwng, am ei bod wedi dyfod trwy olyniad rheolaidd oddiwrth yr Apostolion, heb ystyried fod Crist yn awr yn bresennol yn ei eglwys i anfon ac awdurdodi y neb y myno, mor wirioneddol, er nad yn yr un modd, â phan oedd yn weledig ar y ddaear. Y mae yr eithafion hyn, er mor wahanol i'w gilydd, yn cynnyrchu yr un effaith, sef edrych yn ddirmygus ar gyfarfodydd am y rhai y mae Crist ei hun yn dywedyd, "Yno yr wyf fi." Y mae geiriau fel hyn yn cael eu darllen yn fynych: ond ychydig sydd yn dychmygu am y grym sydd ynddynt, nac yn ystyried fod ynddynt feddwl o gwbl. Athrawiaeth arall sydd yn eglur i bawb yn y Testament Newydd ydyw, fod yr eglwys a'r byd yn ddau allu gwahanol, y rhai nis gall fod heddwch rhyngddynt. Ond os edrychwn o'n hamgylch, yr ydym yn cael nad yw hyn yn bod hyd yn nod mewn ymddangosiad, nac yn cael ei gydnabod fel gwirionedd, yn y rhan fwyaf o'r gwledydd sydd yn cael eu cyfrif yn wledydd Cristionogol.

Er fod yr Arglwydd Iesu yn awr yn gweithredu fel Brenhin, y mae yn ymddangos fod yn rhaid cael amlygiad mwy nerthol nag a roddwyd eto o'i swydd frenhinol cyn y daw yr eglwys i ddeall y gwirionedd hwn. Yr oedd ei offeiriadaeth yn cael ei rhagfynegi a'i rhagddangos dan yr hen oruchwyliaeth; ac er hyny tywyll oedd syniadau y rhai mwyaf crefyddol am natur ei waith fel Offeiriad. Ac ar ol iddo roddi yr amlygiad mwyaf effeithiol a allasai fod byth o'i swydd offeiriadol, trwy farw yn aberth gwirfoddol yn lle troseddwyr ei gyfraith, ac er esbonio dyben mawr ei farwolaeth yn y modd mwyaf eglur ganddo ef ei hun a'i Apostolion, yr

ydym yn cael mai yn raddol y daeth y gwirionedd hwn i oleuni yn marn a deall yr eglwys Gristionogol. Ac yma eto, wrth sylwi ar ddadblygiad yr athrawiaethau am offeiriadaeth Crist, yr ydym yn canfod yr un drefn ag a ddilynwyd yn y cynllun a roddwyd yn y bennod ddiweddaf. Yn y canrifoedd cyntaf, *yr hyn ydoedd* Crist fel Offeiriad oedd yn brif destun ymchwiliad. Wedi hyny, yn mhen rhai oesoedd, dechreuodd cyfnod newydd gydag Anselm ac eraill o ysgrifenwyr y canoloesoedd, y rhai a chwiliasant yn ddyfnach i dystiolaeth yr Ysgrythyr am *yr hyn a wnaeth* Crist fel Offeiriad, ac a gawsant trwy hyny oleuni pellach ar natur yr Iawn fel canolbwynt trefn yr Iachawdwriaeth. Y mae y trydydd cyfnod yn dechreu gyda'r Diwygiad Protestanaidd, pan y cafwyd goleuni ychwanegol ar *effaith* gwaith Crist fel Offeiriad. Daeth yr effaith hwn i'r golwg yn gyntaf mewn cysylltiad ag athrawiaeth y cyfiawnhad, wedi hyny athrawiaeth yr ailenedigaeth. Y trydydd effaith yw sancteiddiad. Y mae y tair athrawiaeth yn cyfateb i'r tri gras, ffydd, gobaith, cariad; oblegyd y mae pob un a gyfiawnheir trwy ffydd yn cael ei adgenedlu i obaith bywiol, yr hyn sydd yn cynnyrchu sancteiddrwydd, hanfod yr hwn yw cariad; ac y mae lle i feddwl mai hwn yw pwnc mawr yr eglwys yn yr oes hon—cariad at Grist yn dwyn ffrwyth mewn cariad brawdol, a chariad at eneidiau dynion.

Ond wrth geisio dangos hanes yr athrawiaethau mewn rhyw drefn bennodol, y mae yn hawdd i ni gymmeryd ein harwain gan ragdybiau, a myned i eithafoedd trwy orfodi pob awdwr, yn groes i'w duedd ef ei hun, i ymrestru mewn rhyw ddosbarth ffurfiol er mwyn ei gael i mewn i'r cynllun. Yn lle gwneuthur y ffeithiau i gyfateb i'r cynllun, dylem wneuthur y cynllun i gyfateb i'r ffeithiau: ac os bydd rhai o honynt o hyd yn aros y tu allan i'r cylch, y mae yn rhaid i ni chwilio am ryw resymau eraill i roddi cyfrif am danynt. Yn yr achos sydd yn awr ger ein bron nid yw hyny yn anhawdd; oblegid, er i ni dybied mai swydd offeiriadol Crist yw prif destun ymchwiliad yr eglwys er dyddiau yr Apostolion, nis gallesid dysgwyl fod y swyddau eraill yn cael eu hanghofio yn llwyr: ac yn enwedig gan fod y gwirioneddau a amlygwyd gan Grist fel Prophwyd yn achosion o'r hyn a wnaed neu a wneir ganddo yn y ddwy swydd arall, gallesid dysgwyl yn naturiol fod y gwirioneddau hyny yn cael eu dwyn i sylw yn barhaus mewn cysylltiad â'i offeiriadaeth. Amcan mawr y Tadau boreuaf oedd profi dwyfoldob y grefydd Gristionogol, yn erbyn Iuddewaeth ar un llaw, ac yn erbyn Paganiaeth ar y llaw arall, nid yn unig y tu allan, ond hefyd yn yr eglwys. Oddiwrth hyn

arweiniwyd hwynt yn raddol i ymchwiliadau dyfnion mewn perthynas i Dduw, y Drindod, ac yn fwyaf neillduol Y LOGOS, y Gair tragywyddol trwy yr Hwn y mae Duw yn dadguddio ei hun. Wedi hyny, daeth yr athrawiaeth am Berson Crist yn brif destun ymchwiliad. Ond yn y cyfamser, trwy ysgrifeniadau Origen, Irenæus, Tertullian, ac yn enwedig Augustine, cafwyd goleuni ar gyflwr dyn, a gras Duw. Yn mhob oes y mae y materion olaf hyn wedi bod dan sylw mewn rhyw ffurf, yn gyffredin mewn cysylltiad â phechod gwreiddiol ac arfaeth. Ysgrifenwyd o'u plaid yn nerthol gan Anselm a Bradwardine yn y canoloesoedd. Cawsant le ac effaith mawr yn y Diwygiad Protestanaidd, yn ysgrifeniadau Luther yn llawn cymaint â'r eiddo Calvin: ac felly yn mhob diwygiad crefyddol a fu ar ol hyny. Nis gallesid cael nerth i weithredu yn egnïol dros Dduw heb oleuni adnewyddol ar drefn gras: ac nis gallesid cael goleuni ar drefn gras ond yn yr olwg ar gyflwr dyn: ac nis gallesid cael golwg gywir ar gyflwr dyn ond yn yr olwg ar Dduw. Heblaw hyny, y mae yn angenrheidiol cadw mewn cof o hyd fod delw y cyfan ar bob rhan. Yr hyn a welir yn hanes y byd a welir hefyd yn hanes pob cyfnod. Fel yr oedd Crist yn ei swydd brophwydol yn amlygu Duw i'r byd cyn dyfod yma i weithredu fel Offeiraid, ao yn ei amlygu yn eglurach pan ddaeth, felly yn mhob cyfnod neillduol y mae yr amlygiad o Dduw, a'i ddeddf, a'i ras, yn cydfyned o angenrheidrwydd â'r amlygiad o Grist yn ei swydd offeiriadol.

Y mae un egwyddor arall yn deilwng o ystyriaeth, sef y cysylltiad rhwng y gwrthddrychol a'r tufewnol. Nis gellir gweled heb wrthddrychau i'w gweled; ac nis gellir gwybod dim heb wrthddrychau gwybodaeth. Y wybodaeth hon am y gwrthddrychau a elwir yn wybodaeth wrthddrychol. Y mae gwrthddrychau ein gwybodaeth y tu allan i'r meddwl. Y meddwl ei hun ar y cyntaf nis gellir ei ganfod, oddieithr fel y mae yn cael ei adlewyrchu gan ryw wrthddrych y tu allan, megis nas gall y llygad weled ei hun oddieithr trwy adlewyrchiad. Er hyny pan eir i ymofyn paham y mae dyn yn alluog i wybod mwy am y gwrthddrychau hyn na'r anifail, y mae yn amlwg fod yr achos o hyny ynddo ef ei hun. Mae yn rhaid gan hyny fod rhyw egwyddorion yn meddwl pob dyn sydd yn ei alluogi i wybod a barnu am yr hyn a gyflwynir i'w sylw. Yn ychwanegol at hyn y mae llawer yn ymddibynu ar agwedd y meddwl ar y pryd: oblegid y mae ein sefyllfa a'n teimlad yn ein perthynas â'r gwrthddrych yn effeithio ar ein golygiadau. Ein gwybodaeth am unrhyw wrthddrych yw ein gwybodaeth am ein perthynas ni, mewn rhyw fodd, â'r gwrthddrych hwnw. Gan hyny y mae dirnadaeth gywir am ein sefyllfa ni ein hunain yn ein perthynas â'r

achos a fyddo dan sylw yn elfen bwysig yn mhob gwybodaeth. Yr elfen hon a elwir yn wybodaeth dufewnol. Yn holl ymchwiliadau maith a manwl y Tadau Groegaidd, yr elfen wrthddrychol oedd yn cael mwyaf o le. Cymerasant lawer o boen, ac ymladdasant trwy lawer o rwystrau, i sefydlu yr athrawiaeth oedd yn ymddangos iddynt hwy yn unol â'r Ysgrythyr am Berson yr Arglwydd Iesu: ond nid oeddynt mor ymdrechgar i ddangos yr athrawiaeth yn ei pherthynas â chyflwr dyn. Ac nid hyny yn unig, ond yr oedd barn y rhan fwyaf o honynt am ddyn yn dra diffygiol. Y diffyg hwn a gymerwyd i fynu gan Pelagius i fod yn sylfaen i gyfundrefn o athrawiaeth, ac a aeth trwy hyny yn gyfeiliornad oedd yn tueddu i ddadsylfaenu Cristionogaeth, gan ei fod yn diddymu yr angenrheidrwydd am offeiriadaeth Crist. Yn yr amgylchiadau hyn cyfodwyd Augustine i ddangos fod dyn yn analluog i achub ei hun, fod cadwedigaeth o ras, a bod y Person yr oedd yr eglwys wedi bod yn dadleu yn ei gylch trwy yr oesoedd nid yn siampl yn unig, ond hefyd yn Waredwr. Felly yr oedd yr holl ddadl rhwng Augustine a Pelagius yn dwyn perthynas ag offeiriadaeth Crist. Yr oedd yr eglwys o'r blaen wedi dangos yr hyn ydoedd Crist, fel Duw a Dyn, yn un Person: ond cafodd Augustine y fraint o sefydlu yr athrawiaeth hyd ddiwedd amser am yr hyn ydoedd Crist yn ei berthynas â ni fel Offeiriad. Dangosodd yn fwy eglur na neb a fu o'i flaen nac ar ei ol ei fod wedi ymgnawdoli, nid i fod yn wrthddrych dadl neu wybodaeth wag, ond i fod yn Achubwr i bechaduriaid colledig.

Ond er i Augustine roddi goleu newydd ar yr *hyn ydyw* Crist fel Offeiriad, sef yr hyn ydyw yn ei berthynas â chyflwr dyn fel troseddwr, nid yw yn ymddangos fod *yr hyn a wnaeth* Crist fel Offeiriad wedi dyfod erioed yn amlwg i'w feddwl: a bu natur yr hyn a wnaeth Crist fel Iawn i Dduw yn aros yn dywyll wedi hyny dros amryw ganrifoedd. Yr oedd cred ddiysgog yn yr eglwys o'r dechreuad fod rhyw gysylltiad yn bod rhwng ymgnawdoliad Mab Duw a chadwedigaeth pechaduriaid; ond ni chafwyd goleu ar natur y cysylltiad hwnw hyd y canol oesoedd, pan y cyfodwyd Anslem i ddangos "*Paham* y daeth Mab Duw yn Ddyn." Ond y mae yn rhaid addef ei fod yntau wrth ymdrin am waith Crist, yn rhy debyg i'r Tadau Groegaidd wrth ymdrin am berson Crist, yn edrych ar y mater yn ormodol fel pwnc yn unig, heb ddangos yr ochr dufewnol, sef ei berthynas â chyflwr dyn. Y mae wedi ysgrifenu yn oleu i brofi fod yr Iawn yn dwyn perthynas â Duw; ond y mae yn rhy ddisylw o'r berthynas rhwng Crist a phechaduriaid. Nid am yr *effaith* yn y cyfiawnhad a'r sancteiddhad yr ydym yn awr yn son; ond am y berthynas sydd yn cyfansoddi

gwaith Crist yn Iawn—y berthynas rhwng Crist a phechadur yr hon oedd yn anhebgorol angenrheidiol cyn y gallasai ein pechod ni gael ei gyfrif i Grist, na'i waith ef gael ei gyfrif i ni. Y berthynas hon a ddygwyd i oleuni newydd gan yr hen awdwyr cyfriniol, o ddyddiau Anslem hyd y Diwygiad Protestanaidd. Nid oedd y cyffredin o honynt yn gwneuthur cymmaint o swn yn y byd â rhai o'u cydoeswyr; ac y mae yn rhaid cydnabod fod amryw o honynt wedi mynedi eithafion: ond wedi'r cwbl y mae yn ddiammheuol mai hwy oedd y ser dysgleiriaf yn y ffurfafen hyd nes y cododd gwawr y Diwygiad, a bod Luther ei hun yn ddyledus iddynt am ran fawr o'i dduwinyddiaeth. O hyny hyd yn awr y mae *effaith* gwaith offeiriadol Crist wedi dyfod i fwy o arbenigrwydd; yn wrthddrychol ar y cyntaf, ac wedi hyny yn dufewnol.

---

## PENNOD VIII.

## Y TADAU GROEGAIDD.

UN o'r ffeithiau hynotaf sydd yn tynu sylw pawb pan yn darllen hanes yr Eglwys gyda gradd o ystyriaeth yw y gwahaniaeth anfesurol rhwng yr Ysgrythyrau sanctaidd a holl ysgrifeniadau y Tadau yn y canrifoedd cyntaf. Wrth edrych yn ol at yr amseroedd hyny, yr ydym yn naturiol yn dysgwyl cael golwg ar Gristionogaeth mewn gwedd berffeithiach, a chael mwy o oleuni ar bob athrawiaeth, fel yr ydym yn nesu at yr oes Apostolaidd. Ond yn lle hyny, yr ydym yn gweled yr Eglwys Gristionogol yn ei chyflwr o fabandod; yn arddangos llawer o fywiogrwydd a diniweidrwydd mabaidd, mae yn wir, ond yn gymysg â'r syniadau mwyaf plentynaidd. Daeth Cristionogaeth i'r amlwg yn y Testament Newydd, fel Adda, yn ei chyflawn faintioli; ond ar ol hyny, yr oedd pob credinïwr, pa beth bynag fyddai grym ei gynneddfau naturiol, dan angenrheidrwydd i ddechreu gyda'r egwyddorion cyntaf, a myned ar gynnydd yn raddol mewn gwybodaeth grefyddol: a chan fod gwybodaeth y naill oes yn cael ei drosglwyddo i'r oes ddilynol, yr hyn sydd yn peri fod y fath gysylltiad rhyngddynt fel y gellir edrych ar ddynoliaeth, yn ol dywediad Pascal, fel un dyn, y mae yn canlyn na ddylid dysgwyl dim yn amgen na phlentyneiddrwydd yn yr oes gyntaf ar ol dyddiau yr Apostolion. Ac os fel hyn y mae yn rhesymol, wrth ystyried, i ni ddysgwyl iddi fod, yr ydym

yn cael, wrth sylwi, mai felly yr ydoedd. Mor bell oedd y Tadau cyntaf oddiwrth gyrhaedd golygiadau cywir ar brif athrawiaethau y grefydd Gristionogol, fel y mae yn ymddangos nad oeddynt wedi cael golwg arnynt o gwbl. Y mae ysgrifeniadau y rhai goreu o honynt ar gael hyd heddyw yn tystio hyn. Ac eto y mae anffyddwyr yr oes hon yn ceisio haeru mai dynion cyffelyb i'r rhai hyn a ysgrifenodd y rhan fwyaf o'r Testament Newydd; gan nas gallant addef mai yr Apostolion, na neb yn nyddiau yr Apostolion, oedd yr awdwyr, heb addef ar yr un pryd fod yr hanes yn wirionedd.

Ond fel yr oedd yr Eglwys yn myned ar gynnydd mewn oedran, yr oedd hefyd yn cynnyddu mewn gwybodaeth; nid heb lafur ac ymdrech, ac nid heb gyfarfod ag anhwylderau achlysurol oedd yn peri iddi ymddangos fel yn myned yn ol yn hytrach nag yn mlaen, ond er hyny, wrth gymeryd y cwbl i ystyriaeth, yn ennill yn gyson, ac yn ychwanegu cryfder: ac yn ystod y drydedd a'r bedwaredd ganrif yr oedd ganddi ddynion gwir fawr yn arweinyddion, y rhai a lwyddasant i ddwyn i'r amlwg rai o brif athrawiaethau y Testament Newydd. Ac yma eto y mae ffaith hynod arall yn ymgynnyg i'n sylw. Wrth glywed fod ysgrifenwyr mwy galluog na chyffredin wedi gwneuthur eu hymddangosiad yn yr amseroedd hyny, y mae yn naturiol i ni chwilio am danynt yn Rhufain, neu Athen, neu o leiaf mewn rhyw ran o Europe neu Asia. Ond y ffaith ydyw mai i Affrica yr ydym yn ddyledus am yr holl dduwinyddion penaf yn mysg y Tadau Cristionogol, y rhai Lladinaidd, yn gystal a'r rhai Groegaidd. I brofi hyn ni raid ond crybwyll eu henwau—Clemens Alexandrinus, Origen, Athanasius; Tertullian, Cyprian, Augustine. Y nesaf atynt oedd Chrysostom, yr hwn oedd yn fwy na hwynt oll fel pregethwr ac esboniwr; ond yn llai fel duwinydd, neu yn llai pa fodd bynag yn yr effaith a gynnyrchwyd ganddo ar dduwinyddiaeth y brif eglwys. Arweinyddion penaf yr eglwys gyntefig yn mhob ystyr oedd y rhai a enwyd uchod, y rhai oeddynt oll yn enedigol o Affrica, ac a dreuliasant eu bywyd gan mwyaf yn y wlad hono. Pan lwyddodd Alexander fawr i fyned yn unbenaeth cyffredinol, ymdaenodd iaith a dysgeidiaeth y Groegiaid i Asia ac Affrica; a sylfaenwyd dinas ganddo yn yr Aifft, yr hon a alwodd ar ei enw ei hun yn Alexandria; ac yma y ganwyd Clemens, Origen, ac Athanasius. Oad pan ddarostyngwyd y byd dan iau y Rhufeiniaid, ymdaenodd yr iaith Lladin i Carthage a'r gwledydd cymmydogaethol; ac yn y rhan hon o Affrica y ganwyd Tertullian, Cyprian, ac Augustine. Yr oedd rhai o'r Tadau hyn yn gydoeswyr; sef Clemens, yr hwn a fu farw rywbryd rhwng 212 a 220,

yn cydoesi â Tertullian, yr hwn a fu farw yn y flwyddyn 220; Origen, yr hwn a fu farw yn 254, yn cydoesi â Cyprian, yr hwn a fu farw yn 258. Ond Athanasius, y mwyaf o'r Tadau Groegaidd, a fu farw yn 373, yn yr ugeinfed flwyddyn o oedran Augustine, y mwyaf o'r Tadau Lladinaidd, yr hwn a fu farw yn 429. Ond hyd yn nod pe buasent oll yn cydoesi â'u gilydd, mwy manteisiol yw edrych arnynt fel dau ddosbarth, gan fod gwahaniaeth cyson ac amlwg rhwng y materion oedd yn brif destynau ymchwiliad yn yr eglwysi dwyreiniol, y rhai a arferent iaith y Groegiaid, ac a gymerent eu harwain gan dduwinyddion Alexandria, a'r eglwysi gorllewinol, y rhai a siaradent ac a ysgrifenent yn Lladin, ac a dderbynient eu haddysg dduwinyddol o Carthage a Hippo.

Y gwasanaeth mwyaf arbenig a wnaeth y Tadau Groegaidd i Gristionogaeth oedd penderfynu trwy hir ymchwiliad, a thrwy lawer o ddadleuon, y rhai a ddygid ymlaen nid bob amser yn yr ysbryd mwyaf brawdol, pa beth yw yr athrawiaeth Ysgrythyrol am Berson yr Arglwydd Iesu Grist. Nis gellir crynhoi yr holl drafodaeth i ychydig benau yn well nag y gwnaethpwyd gan Hooker yn ei *Ecclesiastical Polity* fel y canlyn—"Nid oes ond pedwar peth yn cydgyfarfod i wneuthur yn gyflawn yr oll ag ydyw ein Harglwydd Iesu Grist; ei Dduwdod, ei ddyndod, undeb y ddau, a gwahaniaeth y naill oddiwrth y llall wedi eu cysylltu yn un. Pedair o brif heresiau sydd yn bod, y rhai yn y pethau hyn a wrthsafasant y gwirionedd: Ariaid trwy wyro eu hunain yn erbyn DuwdodCrist; Apollinariaid trwy anffurfio a chamddeongli yr hyn sydd yn perthyn i'w natur ddynol; Nestoriaid trwy rwygo Crist, a'i ranu yn ddau berson; canlynwyr Eutyches trwy gymysgu yn ei berson y naturiaethau hyny y dylent eu gwahaniaethu. Yn erbyn y rhai hyn cynnaliwyd pedwar o gynnadleddau cyffredinol tra enwog yn yr hen amseroedd: cynghor Nice i benderfynu yn erbyn yr Ariaid; cynghor Caercwstenin yn erbyn yr Apollinariaid; cynghor Ephesus yn erbyn y Nestoriaid; cynghor Chalcedon yn erbyn yr Eutychiaid. Mewn pedwar gair, ἀληθῶς, τελέως, ἀδιαιρέτως, ἀσυγχύτως *yn wirioneddol, yn berffaith, yn anwahanol, yn ddigymysg;* y cyntaf yn arwyddocâu ei fod yn Dduw, yr ail ei fod yn Ddyn, y trydydd ei fod o'r ddau yn Un, a'r pedwerydd ei fod yn aros o hyd yn yr un hwnw yn Dduw ac yn ddyn; ni a allwn yn gyflawn mewn ffordd o dalfyriad gynnwys pa beth bynag y mae henafiaeth wedi ei draethu yn helaeth naill ai mewn dadganiad o ffydd Gristionogol, neu mewn gwrthresymiad i'r heresiau rhagddywededig. O fewn cylch y pedwar pen yma, gallaf ddywedyd yn wirioneddol fod yn hawdd cynnwys pob heresiau nad ydynt yn cyffwrdd ond â Pherson Iesu

Grist, pa bryd bynag y cyfodasant, ai yn y dyddiau diweddaf hyn, neu mewn rhyw oes flaenorol."

Ond er mwyn deall unrhyw gyfeiliornad y mae yn angenrheidiol deall y gwreiddyn o'r hwn y mae yn tarddu; ac efallai y gellid olrhain yr holl gyfeiliornadau am Berson Crist i ddau gamsyniad gwreiddiol. Un oedd camddealltwriaeth o'r gwirionedd sylfaenol mai un Duw sydd; a'r llall oedd camolygiad ar waeledd ac iselder pob peth corfforol. Mewn rhyw ystyr nis gellir dyrchafu undod y Duwdod yn rhy uchel, ac nis gellir darostwng dyn yn rhy isel; ond trwy fod y duedd naturiol sydd mewn dyn i fyned o'r naill eithafoedd i'r llall yn gwneuthur camddefnydd o'r gwirioneddau sydd yn y golygiadau hyn, bu hyny yn achlysur i heresiau peryglus, a dadleuon poenus, mewn perthynas i Berson Crist am rai oesau. Yr oedd hen syniadau Iuddewig rhai, a'r gwrthdarawiad oedd ynddynt yn erbyn amldduwiaeth y paganiaid yn eu harwain i wrthod athrawiaeth y Drindod. Yr oedd eraill yn gweled y pellder rhwng y natur Ddwyfol a'r ddynol yn gyfryw fel yr oeddynt yn ystyried eu hunain dan angenrheidrwydd i gredu, os oedd Crist yn wir ddyn, nas gallasai fod yn wir Dduw; neu os oedd yn wir Dduw, nas gallasai fod yn wir ddyn; neu os oedd yn rhaid credu ei fod yn Dduw ac yn ddyn, yna fod y ddwy natur heb eu huno mewn un person; neu os unwyd hwynt, yna fod y naill yn difodi y llall. Ond yr unig gyfundraeth gyson ar y pwnc hwn, fel pob pwnc arall, yw hono sydd yn rhoddi lle i'r ddau wirionedd gwrthgyferbyniol, yn eu huno â'u gilydd, ac yn gwneuthur hyny heb eu cymmysgu. Un o ragoriaethau y Bibl ydyw, ei fod i raddau anghydmarol tuhwnt i bob llyfr arall yn dangos y pellder anfeidrol rhwng Duw a dyn; ac er hyny yn dangos y ddwy natur yn yr undeb agosaf a all fod, a'r ddwy yn yr undeb hwnw yn cadw eu priodoliaethau eu hunain, yn mherson yr Arglwydd Iesu Grist. Bu y dynion goreu yn yr eglwys gyntefig yn brwydro dros yr athrawiaeth hon, fel bywyd eu crefydd, a sylfaen eu gobaith; a chan nad yw hyd yn hyn wedi derbyn y sylw y mae yn haeddiannol o hono oddiwrth y Cymry, tybir mai nid afreidiol yw aros ychydig yn mhellach ar bob un o'r penau a nodwyd yn y dyfyniad o waith Hooker.

I. Duwdod Crist. Yr oedd rhai ysgrifenwyr o flaen Ioan wedi arfer y gair *Logos*, neu eiriau o gyffelyb ystyr, ac wedi traethu llawer arnynt. Gellir gofyn gan hyny, pa beth oedd yn athrawiaeth Ioan yn wahanol i Philo, neu yr athronyddion Paganaidd. Un gwahaniaeth oedd, fod Ioan yn dysgu fod y *Logos* wedi dyfod yn gnawd, ac mai Efe oedd yr Iesu, yr hwn y mae efe a'r efengylwyr eraill yn rhoddi hanes am ei fywyd, a'i

farwolaeth, a'i adgyfodiad. Ond heblaw hyny, y mae Ioan yn arfer y gair mewn ystyr wahanol, ac anrhaethol uwchlaw i ddim a gynnwysid yn syniadau yr athronyddion dyfnaf, pa un bynag ai paganiaid neu Iuddewon, i'r un graddau ag y mae athrawiaeth y Bibl am yr unig wir a'r bywiol Dduw yn rhagori ar bob desgrifiad o Dduw a geir mewn llyfrau paganaidd. Yr oedd Ioan yn edrych ar y *Logos*, nid fel gallu neu wybodaeth yn unig, neu unrhyw briodoledd arall yn Nuw, ond fel Person dwyfol, yr hwn oedd gyda Duw, a'r hwn oedd yn Dduw. Nid yn unig yr oedd y wybodaeth hon yn rhy uchel i'r byd ei chyrhaedd heb ddaguddiad, ond nis gallai ei derbyn ar unwaith ar ol ei dadguddio. Nid oes brawf cadarnach i'w gael o anallu athroniaeth ac anigonolrwydd rheswm dynol nag a welir wrth ddarllen yr hanes a roddir gan Irenæus am yr holl heresiau oedd yn y byd gyda golwg ar y pwnc hwn cyn ei amser ef: ac yr oedd efe wedi gweled Polycarp, yr hwn oedd yn gydnabyddus, yn ol tystiolaeth Irenæus ei hun, ag Ioan ac eraill o ddysgyblion yr Arglwydd Iesu. Byddai yn rhy faith i ni grybwyll y ddegfed ran o ddychymygion ynfyd y cyfeiliornwyr cyntaf: ac efallai mai nid doeth na dymunol fyddai rhoddi mwy o arbenigrwydd i'r drwg nag i'r da. Gan hyny, ni roddir yma ond ychydig anghreifftiau: a rhoddir hwynt gan mwyaf naill ai fel cyfieithiad llythyrenol hyd y gellir, neu fel talfyriad, o'r geiriau a arferwyd gan yr ysgrifenwyr boreuol.

Mae yn ddiammheuol fod y cyfeiliornadau hyn wedi dechreu yn nyddiau yr Apostolion, oblegid y mae cyfeiriadau atynt yn y Testament Newydd: ac nid yw yn ymddangos fod genym yr un sail ddigonol i wrthod, fel y gwneir gan rai, y chwedl a adroddir gan Irenæus, yr hwn sydd yn dyweyd fod rhai yn fyw yn ei amser ef oedd wedi clywed gan Polycarp, "i Ioan, dysgybl yr Arglwydd, pan yn myned yn Ephesus i ymolchi, ddyfod allan o'r adeilad heb ymolchi am iddo weled Cerinthus yno; ac iddo ddweyd, Ffown, rhag i'r adeilad syrthio, gan fod Cerinthus, gelyn y gwirionedd oddi fewn." Yr adroddiad a roddir gan Irenæus, ac ar ei ol ef yn yr un geiriau gan Hippolytus, mewn perthynas i farn y cyfeiliornwr hwn sydd fel y canlyn:—"Ond un Cerinthus, yn Asia, oedd yn dysgu nad oedd y byd wedi ei wneuthur gan y Duw cyntaf, ond gan ryw allu yr hwn oedd yn dra gwahanol a phell oddiwrth yr awdurdod hono sydd uwchlaw y cwbl, a'r hwn nid adwaenai y Duw hwnw sydd uwchlaw pob peth. Ac yr oedd yn dychymygu na chafodd yr Iesu ei eni o forwyn, (oblegid yr oedd hyn yn ymddangos iddo ef yn anmhossibl,) ond ei fod yn fab Joseph a Mair yn gyffelyb i bob dyn arall; a'i fod yn rhagori ar ddynion eraill mewn

cyfiawnder a doethineb. Ac ar ol ei fedydd i'r Crist ddisgyn arno yn llun colomen oddiwrth y llywodraeth hono sydd uwchlaw y cwbl; ac yna iddo gyhoeddi y Tad anweledig a chyflawni gweithredoedd nerthol: ond yn y diwedd i'r Crist gilio oddiwrth yr Iesu, ac i'r Iesu ddyoddef ac adgyfodi; ond i'r Crist aros heb ddyoddef gan ei fod yn ysbrydol." Y mae Irenæus yn ychwanegi yn y bennod nesaf, "Y rhai a elwir Ebioniaid a addefant fod y byd wedi ei wneuthur gan Dduw; ond am Grist y maent hwy yn dychymygu yn gyffelyb i Cerinthus." *

Yr oedd yr Ebioniaid yn cyfranogi i raddau helaeth o ragfarnau yr Iuddewon: ond fel yr oedd Cristionogaeth yn ymdaenu i fysg y boblogaeth Genhedlig, cyfododd cyfeiliornwyr eraill mwy peryglus, y rhai a elwid yn Gnosticiaid, am eu bod yn ceisio cymysgu yr athrawiaeth Apostolaidd am Grist a'r hyn a gyfrifent hwy yn wybodaeth, yr hon a ddysgasent oddiwrth athronwyr Paganaidd, naill ai y Groegiaid neu y Persiaid. Nid yw eu daliadau fel y darlunir hwy gan hen ysgrifenwyr ond pentwr o dychymygion afresymol a chableddus, y rhai ni fyddai ond poen anfuddiol i'r rhan fwyaf i'w darllen. Ond yn raddol, ffurfiwyd cyfundraethau mwy cyson yn wrthwynebol i Drindod o Bersonau ar sail undod y Duwdod, gan rai a elwid y Monarchiaid. Y galluocaf o'r rhai hyn, yn ddiammheu, oedd Sabellius; am ddaliadau yr hwn nis gellir cael hysbysrwydd sicrach nag a gynnwysir yn y geiriau a ganlyn o waith Athanasius:—"Y mae Sabellius, yr un modd, yn ynfydu pan y dywed fod y Tad yn Fab, ac o'r tu arall fod y Mab yn Dad, un o ran person, ond dau mewn enw: ac y mae yn ynfydu pan yn defnyddio gras yr Ysbryd fel cymhariaeth; oblegid y mae yn dyweyd, 'Fel y mae amrywiaeth doniau, ond yr un Ysbryd, felly yr un yw y Tad, ond y mae yn ymëangi i Fab ac Ysbryd.' Ond y mae hyn yn llawn o afresymoldeb; oblegid os yn yr un modd y mae i ni feddwl am yr Ysbryd ac am Dduw, bydd y Tad yn Air ac yn Ysbryd Glân, yn dyfod un amser yn Dad, amser arall yn Fab, ac amser arall yn Ysbryd, yn cyfaddasu ei hun at anghen pob un, ac mewn enw yn Fab ac yn Ysbryd, ond mewn gwirionedd yn aros yn Dad yn unig; yn meddu dechreuad fel y daeth yn Fab, ac yn darfod a chael ei alw yn Dad; ac wedi dyfod yn ddyn mewn enw, ond heb ddyfodiad yn perthyn iddo mewn gwirionedd; yn cam-dystiolaethu pan ddywedodd, 'Myfi a'r Tad,' gan mai Efe mewn gwirionedd yw y Tad; a'r pethau eraill afresymol sydd yn

* Mae yn amlwg oddiwrth y dull y rhoddir y geiriau gan Hippolytus mai dyma wir feddwl Irenæus: ond yn ol y darlleniad cyffredin mae y frawddeg olaf yn arwyddo nad oeddent yn gyffelyb i Cerinthus.

dilyn cyfeiliornad Sabellius." Nid yw yn amlwg dros ba hyd yr oedd y presenoldeb dwyfol yn gweithredu, yn ol barn Sabellius, yn mherson y dyn Crist Iesu. Meddylia Baur mai tra y bu ar y ddaear; ond tybia Neander mai hyd ddiwedd y byd.

Cadwyd tri chynghor yn Antioch, yn achos Paul o Samosata, yr hwn oedd wedi ei ddewis yn esgob Antioch yn y flwyddyn 260. Yn yr olaf o honynt dyfarnwyd ef yn euog o heresi. Yn ol tystiolaeth Athanasius yr oedd yn dysgu nad oedd y Mab yn bod cyn dyfod yn ddyn. Yr oedd yn cyfaddef fod yr hwn a anwyd o Mair yn Dduw, wedi ei ragarfaethu cyn yr oesoedd, ond yn derbyn dechreuad ei hanfodiad o Mair. Yr oedd yn cyfaddef hefyd fod Gair nerthol o'r nefoedd a doethineb yn trigo ynddo. Dywed Epiphanius ei fod yn dal fod y gair yn bod yn Nuw bob amser, fel y mae rheswm dyn yn ei galon ef ei hun, ond nad oedd y Mab yn berson, eithr yn bod yn Nuw; ac iddo ddyfod a thrigo yn Iesu yr hwn oedd yn aros yn ddyn.

Ond yr hwn a achosodd fwyaf o ddadl mewn cysylltiad â'r athrawiaeth am berson Crist oedd Arius. Nis gellir dangos ei farn ef yn well na thrwy y dyfyniad canlynol o lyfr a ysgrifenodd dan yr enw "*Thaleia*:"—"Nid oedd Duw erioed yn Dad, ond daeth i fod felly. Nid oedd y Mab yn bod erioed, oblegid nid oedd yn bod cyn ei genhedlu. Nid ydyw o'r Tad, oblegid daeth ei hun i fod o'r pethau nid oeddynt. Nid ydyw yn briodol o natur y Tad, oblegid creadur ydyw, ac un gwneuthuredig. Ac nid yw Crist yn wir Dduw, oblegid efe ei hun a wnaethpwyd yn Dduw trwy gyfranogiad. Nid yw y Mab yn adnabod y Tad yn gywir, ac nid yw y Gair yn gweled y Tad yn berffaith, ac nid yw y Gair yn gywir yn deall y Tad. Nid efe yw gwir ac unig Air y Tad, ond mewn enw yn unig y gelwir ef yn Air ac yn Ddoethineb, a thrwy ffafr y gelwir ef yn Fab ac yn Allu. Nid yw yn anghyfnewidiol fel y Tad, ond y mae wrth natur yn gyfnewidiol fel y mae pethau crëedig; ac y mae yn ddiffygiol yn yr hyn sydd angenrheidiol tuag at dderbyn adnabyddiaeth berffaith o'r Tad."

Nid yw hyn ond ychydig anghreifftiau o'r cyfeiliornadau lluosog yn y brif eglwys mewn perthynas i'r gwirionedd mawr sydd yn ganolbwynt Cristionogaeth. Ond o'r tu arall cyfodwyd dynion wedi eu donio a chymhwysderau anarferol i amddiffyn y wir athrawiaeth, yn mhlith y rhai y ddau enwocaf a galluocaf oedd Origen ac Athanasius. Gwnaeth Origen ddefnydd da o ddywediad ei athraw Clemens, nad oedd cenhedliad y Mab yn perthyn i diriogaeth amser, ond i dragywyddoldeb diddechreu lle nad oes olyniad yn bod, yr hyn oedd yn myned dan wraidd yr ymresymiad

fod y Tad o angenrheidrwydd yn bod o flaen y Mab cyn y gallasai roddi bod i'r Mab. Gorchfygwyd y Monarchiaid gan Origen; ond wedi hyny, yn ol pob ymddangosiad, buasai Ariaeth yn ennill y fuddugoliaeth, oblegid yr oedd lluaws o esgobion, a'r holl allu gwladol am hir amser, yn ei phleidio, oni buasai fod Athanasius, er mor ddistadl yr olwg arno, yn offeryn wedi ei godi gan Ragluniaeth i sefyll dros y gwirionedd. Nid yw Athanasius eto wedi cael cyfiawnder gan lawer o ysgrifenwyr yn y wlad hon. Darllener ei hanes, ac yn enwedig ei ysgrifeniadau, a chanfyddir ei fod yn ddyn anghyffredin, mewn amser anghyffredin, wedi ei addasu i gyflawni gwaith anghyffredin.

Gwelir fod llawer o'r rhai oedd yn gwadu y farn uniongred yn cydnabod fod Iesu Grist mewn rhyw ystyr yn Dduw; ond ni fynent addef ei fod *o'r un natur* â'r Tad. Nid oedd gan yr Ariaid yn gyffredin un gwrthwynebiad i ddweyd ei fod o gyffelyb natur (*homoiousios*); pe caniatasid iddynt wadu ei fod o'r un natur (*homoousios*). Llawer o wawd a daflwyd ar y ddadl hon gan ysgrifenwyr nad oedd yn alluog i ganfod yn ddyfnach na'r llythyren, fel pe buasai yr holl ymryson yn troi ar y dull o sillebu y gair, pa un ai gyda'r llythyren *i* neu hebddi: ond yr un peth fyddai dweyd nad oes gwahaniaeth oddieithr mewn dwy neu dair o lythyrenau rhwng Crist ac Anghrist. Y mae yma wahaniaeth hanfodol, yr hwn sydd yn faen prawf i farnu pob athrawiaeth am ddwyfoldeb person Crist. Ond y mae un peth eto i'w ystyried gyda golwg ar farn y dosbarth hwnw a gyfrifir yn uniongred. Yr oeddynt oll yn dal fod y Mab yn Dduw erioed o'r un natur â'r Tad. Ond pa fodd yr oeddynt yn edrych ar y berthynas rhwng y personau dwyfol? A oeddynt yn edrych arnynt yn ogyfuwch yn mhob ystyr? Neu a oeddynt yn golygu fod yma flaenoriaeth? Ac os oeddynt, pa beth oeddynt yn ddeall wrth y flaenoriaeth hono?

Yr un y mae y mwyaf o ammheuaeth yn ei gylch yw Origen. Y mae yn sicr ei fod wedi arfer geiriau mewn amryw fanau fel pe buasai yn gwadu fod y Tad a'r Mab yn bersonau gogyfuwch yn y Duwdod, yr hyn a roddodd achlysur i amryw ar ol hyny geisio dadleu nad oedd yn uniongred: ond y mae mor sicr drachefn ei fod yn credu yn ddiysgog nad oedd y Mab wedi ei greu na'i wneuthur, ond ei fod yn Berson dwyfol, yn genedledig er tragywyddoldeb, ac am hyny nad oedd y Tad yn bod cyn y Mab. Yr oedd y rhai goreu o'r Tadau yn barnu fod y golygiadau hyn o'i eiddo yn berffaith gyson: ac nid tystiolaeth ddibwys o'i blaid ydyw fod Athanasius ei hun yn son am dano yn y modd mwyaf parchus. Cyfrifir ef hefyd yn uniongred gan Esgob Bull, un o brif amddiffynwyr yr athrawiaeth hon.

Ond pa beth bynag allasai fod golygiadau Origen, y gofyniad mwyaf pwysig ydyw, Pa beth oedd barn yr eglwys Gristionogol yn gyffredinol? Dichon yr ymddengys yn ddieithr i rai; ond y gwirionedd diammheuol ydyw, fod y Tadau yn credu, er fod y Mab o'r un natur â'r Tad, eto fod blaenoriaeth mewn trefn yn perthyn i'r Tad fel ffynhonell y Duwdod. Dyma farn Athanasius, y dewraf a'r cadarnaf o holl amddiffynwyr athrawiaeth y Drindod, yr hwn sydd yn cydnabod mai ar y tir hwn yn unig y gellir credu mai un Duw sydd, ac nid tri o Dduwiau. A phan ddeuwn i lawr i oesoedd diweddarach, yr ydym yn cael mai hyn oedd barn Calfin, ac Esgob Bull, a phawb o'r prif awdwyr duwinyddol. Yn y llyfr cyntaf o'i Gorff Duwinyddiaeth y mae Calfin yn dweyd, "Er fod yr enw Duw yn perthyn hefyd i'r Mab, eto y mae weithiau yn cael ei briodoli i'r Tad mewn ffordd o arbenigrwydd, gan mai efe yw ffynhonell y Duwdod, a hyn i'r dyben o ddangos undod syml yr hanfod." Y mae Esgob Bull yn ei Amddiffyniad i'r Credo Nicëaidd yn traethu yn helaeth ar y mater hwn, ac yn profi mai hyn oedd barn yr eglwys Gristionogol o'r dechreuad.

II. Undeb y ddwy natur yn mherson Crist. Er mwyn gochel meithder, cymmerir i mewn dan y pen hwn y tri olaf a grybwyllir gan Hooker, sef fod Crist yn wir ddyn, ei fod yn un person, a bod y ddwy natur yn aros yn yr undeb hwnw heb eu cymmysgu. Wedi ceisio dangos pa beth a feddylir wrth fod Crist yn wir Dduw, y gofyniad nesaf ydyw, pa beth sydd yn gynnwysedig yn y dywediad fod y Gair wedi dyfod yn gnawd? Y mae llawer dyfais wedi ei llunio i esbonio yr undeb rhwng enaid dyn a'i gorff, ac i roddi syniad am y dull y mae sylwedd teimladwy a sylwedd annheimladwy yn effeithio ar eu gilydd. Ond os yw hyn yn ddirgelwch, y mae yn rhaid i ni gredu mai mwy, anfeidrol fwy, i'r rhai sydd yn meddwl am dano o ddifrif, pa olwg bynag a gymerir arno, yw y dirgelwch sydd yn gynnwysedig yn undeb y Gair a'r natur ddynol yn mherson Crist. Ac yr oedd Cristionogion yr oesoedd boreuaf yn meddwl am dano o ddifrif; oblegid, er mor rhyfedd y gall hyny ymddangos i lawer y dyddiau hyn, yr oeddynt hwy yn tybied mai peth o bwys oedd cael golygiadau cywir am berson y Cyfryngwr. Y perygl mwyaf oedd yr un sydd wedi bod eisoes dan sylw; oblegid fel y mae tuedd fwy cyffredin i wadu fod enaid mewn dyn nag i wadu bodolaeth y corff, felly y mae dynion yn mhob oes wedi bod yn fwy tueddol i wadu y dwyfol na'r dynol yn mherson Crist. Er hyny yr ydym yn cael fod rhai yn yr oes Apostolaidd a'r oesoedd dilynol yn haeru nad oedd y Gair wedi dyfod yn gnawd mewn gwirionedd, ond wedi cymeryd corff mewn ymddangosiad yn unig.

Oddiwrth eu cred mewn corff *ymddangosiadol* yn unig cawsant eu galw yn *Docetiaid.* Ond nid oes lle i feddwl eu bod yn gwadu y ffeithiau a gofnodir am Grist; eithr yn hytrach eu bod yn eu hesbonio fel y mae Berkeley yn esbonio pob gweithred gorfforol. Fel y dywed Neander, er nad oedd gan Grist gorff sylweddol, yn ol eu barn hwy, eto yr oedd y ffeithiau yn sylweddol, oblegid yr oedd person y Gair yn gwneuthur yr hyn a ddywedir am dano, er nad oedd yn gwneuthur hyny trwy gyfrwng sylwedd corfforol, yr hwn fel y tybient hwy oedd yn rhy isel i Berson dwyfol ei gymeryd i undeb ag ef ei hun.

Yr un duedd a arweiniodd Apollinaris yn y bedwaredd ganrif i wadu y rhan ysbrydol o natur ddynol Crist, ac i ddadleu fod y Gair tragywyddol yn llanw lle yr enaid rhesymol. Nid oedd yntau heb lawer i'w ddweyd dros ei farn. Yr oedd yn ystyried fod tair rhan mewn dyn, ac felly mai yr enaid anifeilaidd a feddylir pan y sonir am enaid Crist. Ond yr anhawsder a deimlai efe oedd credu fod Crist yn ddyn cyflawn heb fod yn ddau berson. Os oedd ganddo enaid rhesymol nis gallai efe weled pa fodd nad oedd yn berson dynol; ac am hyny, er mwyn cilio oddiwrth y cyfeilliornad fod Crist yn ddau berson, cymerodd i fynu y dyb fod y person dwyfol ynddo ef yn cyfateb i'r hyn yw yr enaid rhesymol ynom ni. Nid oedd y Monotheliaid yn y seithfed ganrif yn myned mor bell â hyn: ond yr oeddynt hwythau yn cymeryd rhan o gyfundraeth Apollinaris, gan eu bod yn dal fod yr ewyllys ddwyfol yn difodi yr ewyllys ddynol, ac am hyny nad oedd dwy ewyllys yn Nghrist. Ond gwrthwynebwyd yr Apollinariaid gan Athanasius ac eraill, y rhai a deimlent fod yn angenrheidiol credu fod Crist yn wir ddyn, yn gystal ag yn wir Dduw. Efallai nad oes cymaint o berygl oddiwrth y cyfeiliornad hwn yn ein dyddiau ni: ac eto y mae lle i feddwl fod llawer sydd yn cydnabod mewn geiriau fod y Cyfryngwr yn wir ddyn ar yr un pryd yn analluog i roddi derbyniad calonog a llwyr i'r gwirionedd ei fod yn meddu teimladau dynol, deall dynol, ac ewyllys ddynol; ei fod yn mhob peth yn gyffelyb i'w frodyr, ac wedi ei demtio yn mhob peth yr un ffunud â ninnau, eto heb bechod. Un peth yw cymeryd y geiriau hyn a'r cyffelyb yn ganiataol, a pheth arall yw gweled a derbyn y meddwl sydd ynddynt.

Ond os oedd Apollinaris yn myned i un eithafnod rhag ofn cymylu y gwirionedd fod Crist yn un person, aeth Nestorius yn y bummed ganrif, i eithafnod arall trwy ysgaru y ddwy natur yn ormodol, nes yr oedd yn ymylu ar wneuthur Crist yn ddau berson. Y mae ysgrifenwyr diweddar gan mwyaf yn lled bleidgar i Nestorius: a diau nas gellir cyfiawnhau holl

eiriau ac ymddygiadau ei wrthwynebwr, Cyril. Y mae sail hefyd i ammheuaeth ynghylch priodoldeb y gair *theotocos*, yr hwn a roddodd achlysur i'r ddadl, er ei fod wedi ei arfer cyn hyny gan Athanasius. Os cymerir ef i arwyddo, fel y gwneir yn gyffredin, fod Duw wedi ei eni o'r forwyn, yna nis gellir beio Nestorius am wrthod y gair. Ond y mae yn amlwg, debygid, mai y meddwl oedd, fod Un sydd yn Dduw wedi ei eni o'r forwyn; ac yn yr ystyr yma y mae yr ymadrodd yn Ysgrythyrol, oblegid "y peth sanctaidd a enir o honot ti," meddai yr angel, "a elwir yn Fab Duw." Ond nid oedd y ddadl ynghylch y gair hwn ddim yn amgen nag arwydd o wahaniaeth dyfnach rhwng yr Alexandriaid a'r Antiochiaid. Yr oedd Nestorius yn Nghaercwstenin a'i gyfeillion yn Antioch, mae yn rhaid addef yn ddynion doniol a da. Yr oeddynt yn dra chanmoladwy yn eu heiddigedd dros berffaith Dduwdod, a pherffaith ddynoliaeth yr Arglwydd Iesu. Yr oeddynt yn pleidio y gwirionedd pan yn dadleu nad oedd y Duwdod wedi dyfod yn ddyndod. Er hyn y mae yn sicr nad oedd ganddynt ond syniadau arwynebol am agosrwydd yr undeb rhwng y ddwy natur, yr hwn sydd undeb mor agos fel y mae yr hyn a wnaeth Crist yn y natur ddynol yn cael ei briodoli iddo fel person dwyfol, nes y gellir dywedyd mai person dwyfol a anwyd yn Bethlehem, ac a fu farw ar y groes; yr hyn sydd un o'r gwirioneddau mwyaf pwysig yn ei berthynas a'r oll o drefn iachawdwriaeth.

Ond wrth geisio gwrthwynebu Nestoriaeth aeth Eutyches drachefn i eithafoedd, tua chanol y bummed ganrif, trwy ddweyd fod undeb mor agos rhwng y Person dwyfol a'r ddynoliaeth fel nad oedd ganddo ond un natur; yr hyn a fu yn achos o ddadl a barodd ymraniad a therfysg blin am hir amser. Yn wahanol i'r cynhwrf o'r blaen, yr oedd y teimlad cryfaf yn awr o blaid y cyfeiliornad yn Alexndria, a'r teimlad yn ei erbyn yn Antioch. Yr oedd y gallu gwladol hefyd ar y cyntaf yn pleidio Eutyches; a chafwyd rhyw fath o gynadledd, yr hon a adnabyddir wrth yr enw "Cynadledd y Lladron," i'w ddieuogi. Ond yn nghynghor cyffredinol Chalcedon ar ol hyny, daethant i'r penderfyniad, Fod yr un Crist mewn dwy natur, heb gymmysgedd, heb gyfnewidiad, heb raniad, heb wahaniad. Yn y ddadl hon eto, yr oedd geiriau bychain yn myned yn fawr fel arwyddion o gyfundraethau gwrthwynebol. Yr oedd yr Eutychiaid yn foddlawn i ddweyd fod Crist yn un person *o* ddwy natur, ond nid yn un person *mewn* dwy natur; oblegid yr oeddynt yn addef fod y natur ddwyfol a'r natur ddynol yn ddwy cyn i Grist gymeryd y natur ddynol i undeb â'i berson dwyfol; ond yr oedd y blaid arall yn dal eu bod yn aros yn ddwy, er fod y person yn un.

Nid oes neb ystyriol a deimla duedd i ddirmygu yr eiddigedd hwn yngh-hylch geiriau; oblegid yn fynych y mae gwahaniaeth bychan yn y dull o ymadroddi yn dynodi gwahaniaeth mawr yn y meddwl, megis mewn achosion gwladwriaethol, y mae pethau dibwys ynddynt eu hunain yn cael eu gwisgo â mawredd os byddant yn dwyn cysylltiad ag anrhydedd teyrnasoedd. Ac er y rhaid addef am ryfeloedd eglwysig yr un modd ag am ryfeloedd gwladol, nad ydynt yn cael eu dwyn ymlaen yn gyffredin heb ryw gymaint o drais, a dichell, ac anghyfiawnder; eto wrth ddarllen hanes y dadleuon athrawiaethol yn y canrifoedd cyntaf, nis gallwn lai na chanfod yn y cwbl lawer o gariad diragrith at y gwirionedd; a thrwy y cwbl nis gallwn lai na chydnabod goruwch-lywodraethiad dwyfol.

---

## PENNOD IX.

## Y TADAU LLADINAIDD.

Er mai trwy ymdrech y Tadau Groegaidd yn y Dwyrain y dygwyd yr athrawiaeth am berson Crist i eglurdeb, nid ydym i feddwl fod y Tadau Lladinaidd yn y rhanau gorllewinol o'r ymherodraeth wedi gadael y pwnc hwn yn hollol ddisylw. Nid oes neb wedi ysgrifenu am y Drindod ac am berson Crist yn fwy goleu nag Augustine. Er hyny ni fu yr athrawiaeth hon un amser yn destun dadleuon cyffredinol, ac yn ganolbwynt ysgogiadau eglwysig, yn y Gorllewin i raddau cyffelyb ag y bu yn y Dwyrain. Yn y gwledydd dwyreiniol, yn yr India yn gyntaf, wedi hyny yn Groeg, ac wedi hyny yn Alexandria, y mae i ni chwilio am ffynhonell pob ymchwiliad i ddirgeledigaethau bodolaeth. Nis gallai y meddwl dwyreiniol aros yn dawel er deall fod Duw yn bod, heb wybod pa fodd yr oedd yn bod, a pha fath un ydoedd; ac nid hyny yn unig, ond yr oedd yn rhaid chwilio hefyd pa fodd y mae dyn yn bod, pa fath fod ydyw, a pha beth ydyw bodolaeth yn gyffredinol. Dygwyd yr un duedd ymchwilgar gan y Groegiaid at y dadguddiad dwyfol, lle yr oedd pob un oedd yn ymofyn am wybodaeth o ddifrif, ac yn dyfod mewn ysbryd gostyngedig, yn cael atebion cyflawn a boddlonol i'r holl ofyniadau yr oedd yn angenrheidiol cael goleuni arnynt. Ond yr oedd y Rhufeiniaid fel cenedl o duedd fwy

ymarferol. Yr hyn oedd yn agos atynt a farnent hwy yn deilwng o'u sylw. Yn hyn yr oedd eu grym, ac yn hyn yr oedd eu gwendid. Yr oeddynt yn gadael y Groegiaid i chwilio pa beth sydd yn bod, tra yr oeddynt hwy yn cyfyngu eu hunain i ystyried pa beth sydd i'w wneyd, pa beth sydd yn ymarferol, pa beth sydd yn ddyledswydd; ac y mae yn debyg na fu y syniad am ddyledswydd a deddf yn dylanwadu cymmaint ar un genedl baganaidd ag ar y Rhufeiniaid. Gan nad yw crefydd yn difodi dynoliaeth yr oedd y nodwedd hwn i'w ganfod o'r dechreuad yn y Rhufeiniaid Cristionogol; y mae yn dyfod i'r golwg yn ansawdd y materion a gynnwysir yn y llythyr a ysgrifenwyd atynt gan yr Apostol Paul, yn enwedig pan gymherir ef â'r llythyr at yr Ephesiaid; ac y mae i'w weled yn ysgrifeniadau yr holl Dadau Lladinaidd.

Yr oedd yn naturiol gan hyny i'r Tadau Lladinaidd gyfeirio eu hunain yn benaf i chwilio pa beth sydd i ddyn i'w wneuthur i fod yn gadwedig. Ac felly yr ydym yn cael mai y prif wasanaeth a wnaethant oedd dangos fod cadwedigaeth yn hollol o ras, pwnc mawr yr epistol at y Rhufeiniaid. Ond fel yr awgrymwyd eisoes, nid oedd yr eglwys eto wedi dyfod yn ddigon aeddfed i ddeall yr oll o'r gwirionedd a gynnwysir yn y llythyr dwfn hwnw o eiddo Apostol mawr y Cenhedloedd. Digon iddynt hwy yn yr oesoedd hyny oedd deall y pennodau cyntaf, yn y rhai y mae yr Apostol yn gosod i lawr sylfaen ei ymresymiad trwy brofi llygredigaeth hollol y natur ddynol, yr hyn oedd ar unwaith yn dangos fod yn rhaid i ddyn gael ei gyfiawnhau trwy ras ac nid trwy weithredoedd. Mor bell â hyn y mae tystiolaeth y Tadau Lladinaidd yn oleu a diammwys; ond yr oedd eu golygiadau ar natur cyfiawnhad yn dra chymysglyd; a gadawyd y mater hwn heb ei ddwyn allan i eglurdeb hyd y Diwygiad Protestanaidd, er ei fod yn un o'r gwirioneddau amlycaf yn yr holl Ysgrythyr. Dywedir fel arall, gan Faber, yn y *Primitive Doctrine of Justification*, a chan ysgrifenydd diweddar yn y *British Quarterly Review*, er fod hyn yn un o'r ffeithiau sicraf mewn hanesiaeth eglwysig. Y mae Faber yn rhoddi dyfyniadau lluosog o waith Augustine ac eraill, y rhai sydd yn dangos yn ddiammheuol eu bod yn ystyried fod yn rhaid i ddyn gael ei gyfiawnhau o ras, trwy ffydd, ac nid trwy weithredoedd; ac yna y mae yn cymmeryd yn ganiatâol fod yr achos wedi ei benderfynu, ac nad oes y gwahaniaeth lleiaf rhwng Augustine a'r Diwygwyr Protestanaidd. Ond nid yw hyn oll yn cyffwrdd â'r pwnc. Y gofyniad yw, nid a yw dyn yn cael ei gyfiawnhau trwy ras, ond pa beth yw cyfiawnhau. Y mae Augustine, a'r lleill o'r Tadau Lladinaidd, wedi profi yn erbyn holl gyfeiliornwyr

yr oes hono fod cadwedigaeth dyn yn gwbl o ras; ac am hyn o wasanaeth y mae yr eglwys dan ddyled iddynt hyd heddyw: ond yr oeddynt hwy yn golygu fod y gair "cyfiawnhau" yn cynnwys cyfnewidiad tufewnol. Yr oeddynt yn cymmeryd y gair yn yr un ystyr ag y cymmerir ef gan yr Eglwys Babaidd, tra er hyny y mae yn deg ychwanegu fod yr Eglwys Babaidd wedi dwyn i mewn at hyny wahaniaeth hanfodol trwy wneuthur cyfiawnhad trwy ffydd yn gyfiawnhad trwy weithredoedd. "Y mae Duw yn cyfiawnhau yr annuwiol," meddai Augustine, "nid yn unig trwy faddeu y drygau a gyflawnodd, ond hefyd trwy gyfranu gras, yr hwn sydd yn ei droi oddiwrth ddrwg, ac yn ei wneuthur yn dda trwy yr Ysbryd Glân." Fel hyn yr oeddynt yn cymmeryd cyfiawnhad i arwyddo yr oll a wneir yn, ac ar ddyn pan y mae yn credu: ac yn unol a hyn yr oeddynt yn cymmeryd ailenedigaeth i arwyddo rhyw fath o gyfnewidiad sydd yn cymmeryd lle mewn bedydd.

Gwelir, gan hyny, fod y goreuon o'r Tadau yn mhell oddiwrth gyrhaedd golygiadau eglur ar rai o brif athrawiaethau y Bibl. Nis gallesid dysgwyl iddynt wneuthur y cwbl oedd i'w wneuthur, na gweled y cwbl oedd i'w weled. Gwnaethant eu rhan yn egnïol a ffyddlawn i ddiwyllio y tir, er iddynt adael llawer o chwyn, yr hwn a fu wedi hyny, ac sydd eto, yn dra niweidiol. Ond yn hytrach na chwilio pa beth a adawsant heb ei wneuthur, mwy hyfryd yw edrych ar y gwaith a gyflawnwyd ganddynt. Er nad oeddynt yn deall yn eglur pa beth yw ystyr y gair "cyfiawnhau," yr oeddynt wedi llwyddo i gael allan fod cyfiawnhad, pa beth bynag ydyw, ac nid cyfiawnhad yn unig, ond yr oll o fendithion yr iachawdwriaeth, yn dyfod o ras penarglwyddiaethol. Mewn cysylltiad â hyn, ac i'r dyben o ddangos hyn, yr oeddynt yn teimlo fod yn angenrheidiol cael golygiadau cywir am gyflwr dyn wrth natur. Dyma yr achos fod pleidwyr athrawiaeth gras, o ddyddiau Paul hyd yn awr, yn wrthwynebol i bob syniad sydd yn cuddio cyflwr colledig dyn o'r golwg. Desgrifir hwy yn fynych fel dynion o feddwl cyfyng, yn hoffi cymmeryd yr olwg fwyaf pruddaidd ar bob peth; ac y mae yn ddigon tebyg y gall fod rhai o bleidwyr athrawiaeth gras yn rhoddi achlysur i'r desgrifiad hwn: ond am y cyffredinolrwydd o honynt, y maent yn ddynion o nodweddiad tra gwahanol; y maent yn mwynhau y cysur cryfaf, ac yn awyddus am i bawb fwynhau yr un cysur, yr hwn sydd yn tarddu, nid o honynt eu hunain, ond o Dduw; ac nid ydynt yn ceisio iselu y natur ddynol ond mor bell ag y mae yn angenrheidiol er mwyn cadw yn ddifrycheu y gwirionedd mawr fod cadwedigaeth o ras. Y mae yn rhaid i bawb gael rhyw sylfaen i adeil-

adu arni; a'r gwahaniaeth rhwng y ddwy blaid ydyw, fod y naill yn cymmeryd gweithredoedd dyn yn sylfaen, ac yn adeiladu gras a holl fendithion yr iachawdwriaeth ar hyny; a'r llall yn cymmeryd gras Duw yn sylfaen, ac ar hyny yn adeiladu sancteiddrwydd a gweithredoedd da. Nid yw llygredigaeth y natur ddynol, a chadwedigaeth o ras, ond dau begwn i'r un pwnc, ac ni fuasai cymmaint o eiddigedd yn yr eglwys gyntefig yn erbyn gwadu y cyntaf oni b'ai y berthynas sydd rhyngddo a'r olaf.

Un o'r rhai enwocaf o'r Tadau Lladinaidd oedd Tertullian. Yr oedd ei dymher Affricanaidd yn ei yru weithiau i eithafoedd, ac nid oedd ei farn un amser yn oleu am rai athrawiaethau; er hyny, y mae yn ymddangos mai efe oedd y cyntaf wedi dyddiau yr Apostolion a roddodd ei le priodol i'r gwirionedd fod cadwedigaeth o ras. Yr oedd yn dal fod dyn fel creadur yn meddu rhyddid ewyllys, fod rhyw ddaioni yn y dynion gwaethaf, a bod goleuni natur yn aros heb ei lwyr ddiffoddi. Ond yr oedd yn dal hefyd, fod llygredd gwreiddiol yn mhob dyn, a bod y natur ddynol wedi myned yn llygredig trwy drosedd y dyn cyntaf. O ganlyniad yr oedd yn cydnabod fod angenrheidrwydd am ras goruwchnaturiol i achub dyn. Yn ei draethawd ar yr enaid, pen. 21, y mae yn dyweyd am y Valentiniaid, "Y maent yn gwadu fod natur yn gyfnewidiol, gan nad yw pren da yn dwyn ffrwyth drwg na phren drwg yn dwyn ffrwyth da. Os felly y mae, nis gall Duw gyfodi plant i Abraham o'r ceryg; ac nis gall hiliogaeth gwiberod ddwyn ffrwythau addas i edifeirwch; ac y mae yr Apostol yn camsynied pan yn dweyd, Yr oeddych chwi gynt yn dywyllwch, ac yr oeddym ni gynt wrth naturiaeth yn blant digofaint, a hyn a fu rhai o honoch chwi, eithr chwi a olchwyd. Ond nid yw yr ymadroddion sanctaidd byth yn anghyson. Nid yw pren drwg yn dwyn ffrwyth da, os na impir ef; ac y mae pren da yn dwyn ffrwyth drwg os na chaiff ei ymgeleddu. A daw ceryg yn blant i Abraham os cânt eu ffurfio i ffydd Abraham. A daw hiliogaeth gwiberod i ddwyn ffrwythau addas i edifeirwch os bwriant allan wenwyn drygioni. Y cyfryw yw gallu dwyfol ras, yr hwn sydd gryfach na natur, ac i'r hwn y mae awdurdod rhyddid yr ewyllys ynom ni yn ddarostyngedig."

Gyda golwg ar lygredigaeth y natur ddynol, yr oedd Tertullian yn dal fod cysylltiad rhyngddo â throsedd y dyn cyntaf, ac yr oedd ganddo gyfundraeth neillduol i esbonio y cysylltiad hwn. Yr oedd yn tybied fod yr enaid yn dyfod yr un modd a'r corff trwy genedliad naturiol, ac am hyny fod pechod yn cael ei drosglwyddo oddiwrth y rhieni i'r plant yn ol deddf natur. Yr oedd ei olygiadau am ansawdd hanfodol yr enaid yn

ei arwain i roddi derbyniad i'r dychymyg hwn; oblegid yr oedd yn methu gweled y gallai unrhyw sylwedd fod o gwbl heb fod yn gorff o ryw fath; ac yn credu o ganlyniad mai sylwedd corfforol, rhy awyrol i'w deimlo, yw enaid dyn, a phob ysbryd, ac hyd yn nod Duw ei hun. Y mae rhai yn ceisio dweyd nad oedd yn barnu fel hyn, am eu bod yn cymmeryd yn ganiatâol, dybygid, nas gallasai dyn o feddwl mor alluog roddi lle i dybiau mor ffol: ond y mae wedi dangos yn y geiriau amlycaf mewn lluaws o fanau mai hyn oedd ei farn; ac y mae Augustine yn dangos hefyd mai felly yr oedd yntau yn ei ddeall. Ac efallai, pe chwilid yn fanwl, mai dyma farn y cyffredinolrwydd o grefyddwyr y dyddiau hyn, er eu bod hwy yn arfer dull arall o eirio. Ni ddywedent mewn geiriau mai corff yw ysbryd; ond dichon er hyny eu bod yn y syniadau sydd ganddynt am ysbryd yn gwneuthur pob ysbryd yn gorff; oblegid y mae pob peth sydd yn meddu ar hyd a lled yn rhwym o fod yn sylwedd corfforol. Ond heblaw Tertullian, yr oedd Lladinwyr yr oes hono yn gyffredin yn analluog i ddirnad y gwahaniaeth rhwng ysbryd a chorff. Yr Alexandriaid oedd y rhai cyntaf i roddi atebiad cywir i'r gofyniad, Pa beth yw ysbryd?

Llawer îs na Tertullian mewn grym meddyliol, ond llawer uwch mewn defnyddioldeb oedd Cyprian. Yr hyn sydd amlycaf yn ei ysgrifeniadau ef yw gweithgarwch esgobaethol; ac anfynych y mae yn cyffwrdd ag athrawiaeth, os na ellir rhoddi yr enw hwn i ailenedigaeth mewn bedydd, yr hyn yw un o'i hoff destunau. Y mae wedi ysgrifenu traethawd pennodol "Am Ras Duw," ond ychydig sydd ynddo heblaw cynghorion ymarferol, a mynegiad o'i ddiolchgarwch am y cyfnewidiad grasol a ddaeth i'w ran ef trwy fedydd. Os oedd yr hen syniadau anianol am Dduw ac enaid yn cilio i ryw raddau, yr oedd yr hen syniadau anianol am waith Duw yn yr enaid yn aros. Ond dan y dychymyg hwn yr oedd yno gred sefydlog am lygredigaeth y natur ddynol; oblegid ni fuasai achos na lle i aileni plant bychain, trwy fedydd neu trwy unrhyw ffordd arall, oni b'ai eu bod yn llygredig. Yn un o'i lythyrau y mae Cyprian yn dwyn hyn i'r golwg. Yr oedd Fidus, yr hwn oedd esgob, ni wyddis yn iawn yn mha le, wedi anfon ato o barth i ddau achos. Y cyntaf oedd, fod un Victor, oedd am ryw fai wedi ei dori o'r weinidogaeth, ac o fod yn aelod eglwysig, er hyny wedi ei dderbyn i'r eglwys gan Therapius cyn iddo gyflawni amser ei edifeirwch: ac yn ei atebiad y mae Cyprian, drosto ei hun a'i frodyr ymgynnulledig mewn cynadledd, yn beio ar yr ymddygiad, ond ar ol dwys ystyriaeth yn barnu fod cerydd personol yn ddigon am y tro hwn i'r brawd Therapius. Yr ail achos oedd, fod Fidus mewn pet-

rusder ynghylch bedyddio plant cyn eu bod yn wyth niwrnod oed. Y mae Cyprian dros y gynnadledd yn ateb yn benderfynol nad yw yn un gwahaniaeth pa mor ieuainc fyddont; ac ar ol llawer o resymau, nad yw yn angenrheidiol eu crybwyll yma y mae yn ychwanegu—"Ond drachefn os yw y gwrthgilwyr gwaethaf, a'r rhai a bechasant lawer o'r blaen, yn erbyn Duw, yn derbyn maddeuant pechodau pan wedi hyny y credont, ac os na waherddir neb i dderbyn bedydd a gras, pa faint mwy ni ddylid gwahardd plentyn bychan, yr hwn gan ei fod newydd eni, ni phechodd yn y gradd lleiaf, oddieithr yn unig ei fod, trwy gael ei eni yn naturiol yn ol Adda, wedi cyfranogi o haint y farwolaeth gyntefig yn ei enedigaeth gyntaf? Y mae yn fwy hawdd iddo ef dderbyn maddeuant pechodau, gan mai nid ei bechodau ei hun a faddeuir iddo, ond pechodau un arall." Y mae yn rhaid addef fod yma rai geiriau trwsgl yn cael eu defnyddio: ond y mae rheswm goleu a chryf i'w ganfod trwyddynt; yr hwn gan ei fod yn cael ei ddwyn i mewn fel gwirionedd nad oedd eisiau ei brofi, sydd o gymmaint â hyny yn well mynegiad o farn gyffredinol yr eglwys yn nyddiau Cyprian.

Yr oedd y cyfan o ragoriaethau Tertullian a Cyprian, a mwy na'r cyfan, yn cydgyfarfod yn Augustine. Iddo ef y mae yr un gwarogaeth yn ddyledus yn yr eglwys orllewinol fel prif amddiffynwr yr athrawiaeth am gyflwr dyn a chadwedigaeth trwy ras, ag sydd yn perthyn i Athanasius yn yr eglwys ddwyreiniol o herwydd ei ymroddiad penderfynol a llwyddiannus i amddiffyn yr athrawiaeth Ysgrythyrol am y Drindod a Pherson Crist. Ond gan fod y pwnc yr oedd Augustine wedi ei fwriadu i'w amddiffyn a'i egluro yn dyfod i gyffyrddiad mwy uniongyrchol â rheswm ac athroniaeth, ac yn rhanu ei hun i nifer lluosocach o ganghenau amrywiol, yr oedd yntau ar gyfer hyny wedi ei ddonio â gallu ymresymiadol cryfach, ac â meddwl mwy cynnwysfawr, hyd yn nod nag Athanasius. Yr oedd y ddadl rhyngddo a'r Pelagiaid yn dwyn perthynas a chyflwr Adda cyn y cwymp, cyflwr dynolryw ar ol y cwymp, rhyddid yr ewyllys, penarglwyddiaeth a gras Duw, a thestunau eraill mor anhawdd eu penderfynu. Ar yr holl faterion hyn cyfrifid Augustine, nid heb achos, gan yr holl eglwys Gristionogol yn gyffredinol, o'r pryd hwnw hyd yn awr, yr awdurdod uwchaf yn nesaf at y Bibl. Ond cyn myned yn mhellach i sylwi ar yr ymdriniaethau a gymmerodd le rhwng y ddwy blaid, y mae yn angenrheidiol cadw mewn cof yr hyn a ddywedwyd eisoes am farn gyffredin yr eglwys yn yr oes hono o barth i ailenedigaeth mewn bedydd; oblegid y mae y dychymyg hwn yn ein cyfarfod yn barhaus wrth ddarllen

gwaith Augustine, ac i'r graddau y mae ei effaith yn cyrhaedd y mae yn gwanhau ei holl ymresymiadau. Nid yn unig y mae yn ei ddwyn ymlaen fel prawf o lygredigaeth y natur ddynol, ond y mae yn ei ddefnyddio i brofi arfaeth ac etholedigaeth, ac y bydd lluaws dirifedi yn golledig heb fod erioed yn euog o bechod gweithredol, sef y rhai oll sydd yn marw yn eu mabandod heb eu bedyddio. Y mae yn cymmeryd yn ganiatâol fel gwirionedd diammheuol fod y rhai hyn yn myned i uffern, ac oddiwrth hyny yn ymresymu mai penarglwyddiaeth ddwyfol sydd yn gwneuthur y gwahaniaeth. Er mor ddisail y gall yr ymresymiad hwn ymddangos i ni, yr oedd y Pelagiaid yn analluog i'w ateb, gan eu bod hwythau yn credu fod bedydd yn angenrheidiol er mwyn sicrhau cadwedigaeth. Eu dywediad oedd, nad oeddynt yn gwybod i ba le yr oedd y babanod hyny yn myned y rhai oedd yn marw heb gael eu bedyddio, ond y gwyddent i ba le nid oeddynt yn myned.

Y pwnc hwn, yn ol yr hanes a rydd Augustine ei hun, oedd yr achlysur o ddechreuad y ddadl. Wedi i Pelagius, yr hwn oedd Brydeiniwr yn ol tystiolaeth ei gydoeswyr, fod yn Rhufain am ysbaid, aeth drosodd i Affrica tua'r flwyddyn 410, a threuliodd ychydig amser yn Hippo heb weled Augustine, gan ei fod oddicartref ar y pryd. Ond cyfarfuasant â'u gilydd y flwyddyn ganlynol yn Carthage heb unrhyw deimladau anghyfeillgar, ac heb un syniad am y berthynas wrthgyferbyniol oedd i fod rhyngddynt. Ni chafodd Pelagius amser i ddwyn allan ei ddaliadau neillduol yn Hippo: ond yn Carthage cafodd well cyfle i daenu ei egwyddorion; a hysbyswyd i Augustine cyn iddo ymadael oddiyno fod yno rai wedi eu hennill i gredu nad oedd plant yn cael eu bedyddio er maddeuant pechodau, eithr er mwyn iddynt fyned i'r nefoedd trwy Grist. Ni thalodd Augustine ond ychydig sylw i'r dywediad, gan fod ganddo lawer o waith arall mewn llaw. Ond wedi hyny ysgrifenwyd ato o Carthage, i ddweyd fod yr athrawiaeth newydd hon yn aflonyddu yr eglwys, yr hyn a barodd iddo gyfansoddi ei draethawd cyntaf yn erbyn Pelagius; ond heb enwi personau, gan obeithio y llwyddid i'w hennill trwy fwyneidd-dra. Yn y llyfr cyntaf o'r traethawd hwn y mae yn dechreu trwy wrthbrofi barn y rhai hyny sydd yn dal y buasai Adda farw pe buasai heb bechu, ac nad yw ei bechod ef yn effeithio ar ei hiliogaeth. Yna y mae yn profi fod angau yn dyfod nid trwy angenrheidrwydd natur, ond trwy haeddiant pechod, fod pechod yn dyfod nid trwy efelychiad, ond trwy genhedliad, ac y dylid bedyddio plant bychain fel y derbyniont ryddhad oddiwrth bechod gwreiddiol. Yn yr ail lyfr y mae yn dadleu yn

erbyn y rhai hyny sydd yn dywedyd fod dynion wedi bod, neu y byddant, yn y fuchedd hon yn ddibechod; ac yn dangos na fu neb erioed yn rhydd oddiwrth bob pechod ond y dyn Crist Iesu. Yn mhen ychydig ddyddiau wedi iddo ysgrifenu y traethawd hwn, cafodd olwg ar nodiadau byrion o waith Pelagius ar epistolau Paul; yr hyn a barodd iddo ychwanegu trydydd llyfr i'w gwrthbrofi mewn ffordd o lythyr at Marcellinus, at yr hwn yr oedd yn anfon y traethawd. Yn yr ail lyfr o'r traethawd uchod, yr oedd yn dweyd y *gallai* dyn trwy gymhorth gras fyw yn ddibechod; ond nad oedd neb yn byw felly. Yr oedd Marcellinus yn methu deall y dywediad hwn, ac yn gofyn am ychwaneg o oleuni, yr hyn a roddodd achlysur i draethawd arall, yn yr hwn y mae Augustine yn dangos fod llawer o bethau yn bossibl y rhai nid ydynt yn bod, ac yna yn myned ymlaen i draethu yn mhellach ar y prif faterion mewn dadl.

Yn y flwyddyn 415, ysgrifenodd draethawd arall, am yr hwn y mae efe ei hun yn dywedyd; "Daeth i'm llaw lyfr, o waith Pelagius, yn yr hwn y mae, gyda phob math o ymresymiad a fedrai, yn amddiffyn natur dyn yn erbyn gras Duw, trwy yr hwn y cyfiawnheir yr annuwiol, ac y gwneir ni yn Gristionogion. Gan hyny rhoddais yr enw "Natur a Gras" ar y llyfr yn yr hwn yr atebais ef, gan amddiffyn gras, nid yn erbyn natur, ond trwy yr hwn y mae natur yn cael ei gwneuthur yn rhydd ac yn cael ei llywodraethu." Y mae y geiriau hyn yn anghraifft byr o'i ddull cynnwysfawr o gyfansoddi, ac hefyd o ansawdd ei athrawiaeth. O hyn allan y mae y frwydr yn myned yn boethach, ac nis gellir crybwyll yma ond y prif ysgrifeniadau. Yn y flwyddyn 418 ysgrifenodd draethawd "Am Ras Crist ac am Bechod Gwreiddiol" mewn dau lyfr. Yn y cynttaf y mae yn dangos fod gras, nid yn unig yn dadguddio, ond yn ein dwyn i gredu ac i garu, a'i fod yn gweithredu ynom i'n dwyn ni i weithredu. Yn yr ail y mae yn dangos na chyfiawnheir ac na chedwir neb heb ffydd Crist; fod y ffydd hon yn rhodd Duw; fod duwiolion yr hen oruchwyliaeth nid dan y ddeddf, ond dan ras; fod gwaith Duw yn gorchymyn tori ymaith y plentyn dienwaededig o blith ei bobl yn profi ei fod yn bechadur, ond nad yw prïodas yn ddrwg er fod y plant yn halogedig. Un o'r gwrthddadleuon cryfaf a ddygid yn ei erbyn oedd, fod ei olygiadau yn taflu anfri ar y sefyllfa brïodasol; ac yr oedd yntau ei hun yn gwanhau ei athrawiaeth trwy gyfyngu y gair "trachwant" yn ormodol at nwydau anifeilaidd. Pa fodd bynag, ysgrifenodd draethawd wedi hyn ar y mater hwn yn bennodol; ac un arall drachefn, "Am yr Enaid a'i Ddeilliad;" yn yr hwn y mae yn cyfaddef nad yw yn gallu penderfynu pa

un a yw yr enaid yn dyfod oddiwrth Dduw yn uniongyrchol, neu yn deillio o Adda trwy genhedliad naturiol. Ysgrifenodd hefyd yn erbyn y rhai oedd yn gwneuthur camddefnydd o'r athrawiaethau am etholedigaeth a pharhad mewn gras. Ond ei draethawd olaf a'r meithaf yn y ddadl, yr hwn a adawyd ganddo heb ei orphen, oedd yn erbyn Julian, y galluocaf o'r Pelagiaid. Yn y traethawd hwn, y mae yn cymmeryd i mewn holl ymresymiadau y blaid wrthwynebol, ac yn rhoddi atebiad cyflawn iddynt, yn enwedig gyda golwg ar bechod gwreiddiol.

Y mae pob lle i feddwl fod Pelagius yn ddyn moesol a chrefyddol, ac mai oddiar eiddigedd dros foesoldeb y dechreuodd lefaru ac ysgrifenu am alluoedd y natur ddynol yn y fath fodd ag oedd yn ymddangos fel pe buasai yn credu fod cadwedigaeth dyn yn gystal a'i golledigaeth o hono ef ei hun. Ei amcan blaenaf oedd dangos dyledswyddau crefyddwyr yr oes hono, a'u hannog hwythau i gyflawni eu dyledswyddau, er i hyny ei arwain yn y canlyniad i wadu gras Duw. Felly y prif bwnc, yr hwn oedd yn ganolbwynt i'w holl olygiadau, oedd rhyddid yr ewyllys. O'r ochr arall canolbwynt yr holl athrawiaeth yn nghyfrif Augustine, y safle o'r hwn yr oedd efe yn edrych ar yr holl gyfundrefn, oedd cadwedigaeth o ras, fel y mae yn amlwg oddiwrth y dyfyniad a ganlyn o'i lyfr ar Heresiau. "Heresi y Pelagiaid yw yr hon gyfododd oddiwrth y mynach Pelagius; yr hwn fel athraw a ddilynwyd gan Celestius, fel y mae eu canlynwyr yn cael eu galw hefyd yn Celestiaid. Y rhai hyn ydynt mor elyniaethol i ras Duw trwy yr hwn y rhagluniwyd ni i fod yn feibion i Dduw trwy Iesu Grist, a thrwy yr hwn y gwaredir ni o feddiant y tywyllwch, fel y credom ynddo ef, ac y symudir ni i'w deyrnas ef, oherwydd paham y mae yn dywedyd, "Nid oes neb yn dyfod ataf fi oddieithr ei fod wedi ei roddi iddo gan fy Nhad," a thrwy yr hwn y tywelltir cariad yn ein calonau ni i beri fod ffydd yn gweithio trwy gariad, fel y maent yn credu y gall dyn gyflawni yr holl orchymynion dwyfol heb ras. Ond pe buasai hyn yn wir, yn ofer y dywedasai Crist, "Hebof fi, nis gellwch chwi wneuthur dim." O'r diwedd pan geryddwyd Pelagius gan ei frodyr, am nad oedd yn cyfrif dim i gymhorth gras Duw tuag at wneuthur ei orchymynion ef, fe ymostyngodd i'w cerydd mor bell ag y gallai heb roddi gras o flaen ewyllys rydd; ond yn hytrach trwy gyfrwysdra twyllodrus ei ddarostwng i ewyllys rydd, gan ddyweyd fod gras yn cael ei roddi i ddynion fel y gallent yn haws gyflawni trwy ras yr hyn y gorchymynir iddynt ei wneuthur trwy ewyllys rydd. Wrth ddywedyd, "fel y gallent yn haws," yr oedd yn dewis i ni gredu, er fod yn fwy anhawdd, eto fod yn bossibl i

ddynion wneuthur y gorchymynion dwyfol heb ddwyfol ras. Ond y gras hwnw o eiddo Duw, heb yr hwn nis gallwn wneuthur dim daioni, nid yw yn bod, meddant hwy, oddieithr mewn ewyllys rydd; yr hon a dderbyniodd ein natur oddiwrtho Ef heb unrhyw haeddiant blaenorol, ac heb fod Duw yn cynnorthwyo i hyny, ond yn unig trwy ei gyfraith a'i athrawiaeth; fel y dysgom pa beth a ddylem ei wneuthur a'i obeithio, ac nid trwy roddi ei Ysbryd fel y gwnelom y pethau y dysgir ni i'w gwneuthur."

Nid yw yn eithaf eglur pa ystyr a roddid gan y Pelagiaid i'r gair *grsa*, nag yn mha fodd yr oeddynt yn golygu fod gras Duw yn gweithredu. Dywedent mai o ras y derbyniasom gynneddfau rhesymol, a holl drugareddau y bywyd hwn, ac mai gras neillduol oedd i Dduw roddi ei Fab, a rhoddi dadguddiad o fywyd tragywyddol. Sonient hefyd weithiau am ras Duw yn goleuo y meddwl; ond y mae yn ammeus a oeddynt yn deall rhywbeth mwy wrth hyny na goleuni naturiol. Y mae Wiggers, yr hwn sydd wedi ysgrifenu yn helaeth ar y ddadl hon, yn barnu fod Pelagius yn rhoddi lle i weithrediadau goruwchnaturiol: ond y mae Baur, yr hwn fel y gallesid dysgwyl sydd yn llawer mwy pleidgar i Pelagius nag i Augustine, yn dadleu yn erbyn hyny. Gwelir oddiwrth y dyfyniad uchod beth oedd barn Augustine: ac fel y caffo y darllenydd gyfle i farnu drosto ei hun, rhoddir yma ddyfyniad arall o'r traethawd ar Ras Crist, yn cynnwys geiriau Pelagius, ynghyd a sylwadau Augustine arnynt. "Er ei fod [meddai Augustine] yn cyfaddef fod y possibilrwydd naturiol hwn yn cael ei gynnorthwyo gan ras Duw, nid yw yn eglur pa beth y mae yn ei alw yn ras, na pha mor bell y mae yn synied fod natur yn cael ei chynnorthwyo gan ras; ond megis mewn manau eraill yn y rhai y mae yn llefaru yn amlycach, gellir ei ddeall fel yn cyfeirio yn unig at y gyfraith a'r athrawiaeth, trwy y rhai y mae y possibilrwydd naturiol yn cael ei gynnorthwyo. Oblegid mewn un lle y mae yn dywedyd, *Y mae dynion anwybodus yn tybied ein bod yn gwneuthur cam â dwyfol ras, am ein bod yn dywedyd nad yw un amser yn cwblhau sancteiddrwydd ynom heb ein hewyllys ni ein hunain; fel pe buasai Duw yn gorchymyn rhywbeth, heb roddi cymhorth ei ras ei hun i'r rhai y mae yn gorchymyn iddynt, fel y gallo dynion gyflawni yn haws trwy ras yr hyn y gofynir iddynt ei wneuthur trwy ewyllys rydd.* Ac fel pe byddai yn ewyllysio eglurhau pa beth y mae yn ei alw yn ras, y mae yn ychwanegu, *Yr hwn yr ydym ni yn cyfaddef ei fod yn gynnwysedig, nid fel yr wyt ti yn tybied, yn y gyfraith yn unig, ond hefyd yn nghymhorth Duw.* Pwy na ddymunai iddo ddangos pa beth y mae yn ewyllysio i ni

ddeall wrth ras? Oblegyd ni a ddylem ddysgwyl yn bryderus iddo amlygu pa beth y mae yn ei feddwl wrth ddywedyd, ei fod yn cyfaddef fod gras nid yn y gyfraith yn unig. Ond tra yr ydym wedi ein dal gan y dysgwyliad hwn edrychwn pa beth y mae yn ei ychwanegu: *Y mae Duw yn ein cynnorthwyo,* meddai, *trwy ei athrawiaeth a'i ddadguddiad, pan ymae yn agor llygaid ein calonau, pan y mae yn dangos y dyfodol i ni fel na'n llanwer â'r presennol, pan y mae yn amlygu dichellion y diafol, pan y mae yn ein goleuo trwy ddawn amryfath ac annhraethol ei nefol ras.*......Nid yw hyn ddim amgen na dyweyd fod gras Duw yn gynnwysedig mewn cyfraith ac athrawiaeth. Ac y mae gan hyny yn eglur mai y gras hwnw a addefir ganddo ef, trwy yr hwn y mae Duw yn dangos ac yn dadguddio pa beth a ddylem ei wneuthur ac nid trwy yr hwn y mae yn ein donio ac yn cynnorthwyo i wneuthur."

Mae yn sicr nad oedd gan Pelagius na Julian olygiadau eglur ar y mater hwn, neu nad oeddynt yn dewis eu dangos. Y tebygolrwydd ydyw, fod Pelagius o leiaf yn caniatâu mwy na moddion allanol yn unig, fod ganddo gongl fechan yn ei gyfundraeth i weithrediadau oddiwrth Dduw ar y meddwl fel cynnorthwy i'r galluoedd naturiol, yr hyn a elwir gan rai yn y dyddiau hyn yn *moral suasion.* Y gwahaniaeth rhwng Pelagius ac Augustine yw y gwahaniaeth rhwng y moesol a'r ysbrydol. Yr oedd Pelagius yn caniatau fod rhyw fath o weithrediad moesol ar y meddwl, a gallasai fyned ymhellach nag yr aeth heb roddi lle i ras goruwchnaturiol: ac y mae amryw o'r ysgrifenwyr mwyaf Calfinaidd wedi arfer geiriau llawer cryfach am weithrediadau cyffredinol yr Ysbryd Glân ar feddyliau gwrandawyr yr efengyl, y rhai sydd er hyny yn aros heb eu haileni. Gallasai Augustine fyned yn mhellach yn y ffordd hon, a chaniatâu mwy nag yr oedd Pelagius ei hun yn dadleu drosto. Ond er cydnabod fod Duw yn goleuo pob dyn, a bod yr Ysbryd Glân yn llefaru yn argyhoeddiadol wrth feddyliau gwrandawyr yr efengyl yn gyffredinol, y mae y gofyniad yn aros, Ai hyn yw gwir droedigaeth? Ai hyn yw gwir grefydd? Y gwasanaeth mawr a wnaeth Augustine oedd dwyn i'r golwg y gwirionedd fod gwir grefydd yn ysbrydol, a bod gras cadwedigol yn oruwchnaturiol. Yr oedd Pelagius yn rhagori ar lawer o grefyddwyr yr oes hono yn ei ymdrech i'w cael oddiwrth ymorphwysiad ffurfiol mewn cyflawniadau corfforol at ddaioni moesol; ond dangosodd Augustine fod cymmaint o bellder rhwg y moesol a'r ysbrydol ag sydd rhwng y ddaear a'r nefoedd. Er hyny nid oedd yntau yn gweled yn ddigon eglur fod y moesol, yn ol trefn gyffredin Duw i weithredu, yn cyfryngu rhwng y

corfforol a'r ysbrydol; fel megys mai trwy y corfforol y mae cyrhaedd y moesol, felly mai trwy y moesol y mae cyrhaedd yr ysbrydol.

Ond nis gallesid dadleu am ras Duw heb gymmeryd i ystyriaeth ewyllys dyn. Y gofyniad oedd, O ba le y mae y cyfnewidiad ysbrydol hwn yn tarddu? A'r anhawsder oedd dangos gras Duw a chyfrifoldeb dyn, heb ddarostwng y naill wrth ddyrchafu y llall. Yr oedd Augustine yn ei ddyddiau boreuaf wedi bod yn dal fod credu yn ymddibynu ar ewyllys dyn, er ei fod yn gryf o'r farn fod pob rhan arall o drefn iachawdwriaeth yn tarddu o ras: ond yr oedd wedi rhoddi y dyb hon heibio cyn fod son am athrawiaethau Pelagius. Er hyny dichon fod Augustine wedi cael cipolwg ar wirionedd pwysfawr, er nad yn ddigon eglur i'w ddeall a'i ddesgrifio. Yr oedd yn gywir wrth feddwl fod gwahaniaeth hanfodol rhwng credu a phob gweithred arall o eiddo dyn; neu, a siarad yn fwy manwl, nad yw credu mwy nag y mae marw naturiol, yn perthyn i ddosbarth gweithredoedd. Ond nid yw hyn yn cynnwys fod dyn yn credu, mwy nag y mae yn marw, heb fod Duw yn achosi hyny. Pa fodd bynag yr oedd gwahaniaeth dirfawr rhwng y farn gyntaf hon o eiddo Augustine a daliadau y Pelagiaid. Ni fynent hwy addef fod ewyllys dyn wrth natur yn fwy tueddol at ddrwg nag at dda. Dyma yr hyn a ystyrient hwy yn rhyddid yr ewyllys: ac yn hyn yr oeddent yn gwahaniaethu oddiwrth Augustine, yr hwn oedd yn dal rhyddid yr ewyllys fel hwythau, ond yn cymmeryd golwg llawer dyfnach ar y mater. Y mae ychydig ystyriaeth yn ddigon i ddangos mor arwynebol oedd syniadau y Pelagiaid. I'r graddau y byddo dyn yn cynnyddu mewn daioni, y mae yn amlwg ei fod i'r un graddau yn myned yn fwy tueddol at dda, ac yn llai tueddol at ddrwg; ac os meddyliwn ei fod wedi cyrhaedd perffeithrwydd, y mae yn rhaid i ni feddwl hefyd nad oes ynddo mwyach un duedd at ddrwg. Ond nid oes neb a ddywed ei fod trwy gynnyddu mewn daioni yn colli ei ryddid. Gan hyny nid yw y dybiaeth o duedd benderfynol yn dinystrio rhyddid yr ewyllys. Yr oedd Augustine yn canfod hyn, ac yn cymhwyso yr ymresymiad gyda grym anwrthwynebol yn erbyn y Pelagiaid. Os ydyw absennoldeb pob tuedd at ddrwg neu dda yn anghenrheidiol i ryddid, yna pa fodd y gellir ystyried fod Duw ei hun yn rhydd, neu y saint sydd wedi eu perffeithio? Y mae Baur yn ceisio dadleu yn erbyn yr ymresymiad hwn am nas gellir cymhwyso pob peth at y creadur ag sydd yn wir am y Creawdwr. Nid yw hyn yn gywir gyda golwg ar y tebygolrwydd moesol rhwng Duw a'i greaduriaid: ond nid ar yr hyn yw Duw yn unig y mae yr ymresymiad wedi ei sylfaenu, eithr ar yr hyn yw pob creadur

sanctaidd. Er hyny y mae Augustine yn ysgrifenu weithiau fel pe byddai dyn wedi colli ei ryddid trwy bechod; ac yn hyn eto y mae yn ddiammheuol ei fod yn gywir, oblegid y mae gwahaniaeth rhwng rhyddid naturiol a rhyddid ysbrydol, fel y mae rhwng gallu naturiol a gallu ysbrydol. Yr hwn sydd yn gwneuthur pechod sydd yn was i bechod; ac nid oes neb yn rhydd mewn ystyr ysbrydol oddieithr i'r Mab ei ryddhau. Felly yr oedd Augustine yn gwahaniaethu oddiwrth y Pelagiaid trwy roddi ystyr ddyfnach i ryddid naturiol, a thrwy wadu fod gan ddyn ryddid ysbrydol: a'i amcan blaenaf, yn gystal a'i brif reswm, yn y naill a'r llall, oedd dal i fynu yn ddifrychau y drefn ddwyfol o gadwedigaeth trwy ras. Gellir canfod ei holl olygiad ar y mater hwn yn y geiriau a ganlyn allan o'i draethawd ar Ras ac Ewyllys Rydd. "Yr ydym yn cofio iddo ef ei hun ddywedyd, Gwnewch i chwi galon newydd, yr hwn sydd yn dywedyd, Mi a roddaf i chwi galon newydd. Pa fodd gan hyny y mae efe yn dywedyd, Gwnewch i chwi, yr hwn sydd hefyd yn dywedyd, Mi a roddaf i chwi? Paham y mae yn gorchymyn os ydyw efe yn myned i roddi? Paham y mae yn rhoddi os dyn sydd i wneuthur; oddieithr am ei fod yn rhoddi yr hyn y mae yn ei orchymyn, pan y mae yn cynnorthwyo yr hwn y gorchymynir iddo i wneuthur yr hyn a orchymynir? Y mae ewyllys rydd ynom ni bob amser, ond nid yw bob amser yn dda. Oblegid naill ai y mae yn rhydd oddiwrth gyfiawnder, pan y mae yn gwasanaethu pechod, ac yna y mae yn ddrwg; neu y mae yn rhydd oddiwrth bechod, pan y mae yn gwasanaethu cyfiawnder, ac yna y mae yn dda. Ond y mae gras Duw bob amser yn dda, a thrwy hwn y dygir dyn i feddiannu ewyllys dda, yr hwn nid oedd ganddo o'r blaen ond ewyllys ddrwg."

Os yw cadwedigaeth yn tarddu fel hyn o ras, ac nid o ewyllys dyn, ac os yw pawb wrth natur yn yr un cyflwr, y mae hyn yn ein harwain o angenrheidrwydd i gredu fod rhyw gysylltiad rhwng llygredigaeth y natur ddynol â throsedd y dyn cyntaf. Dyma sydd yn rhoddi pwys i'r athrawiaeth am y Cyfammod Gweithredoedd a Phechod Gwreiddiol. Mae yn wir fod llawer wedi ymdrin â'r pynciau hyn heb un olwg ar eu perthynas ymarferol, ac wedi eu hymddifadu trwy hyny o'u hystyr Ysgrythyrol. Ond y mae ystyr iddynt er hyny; a hono yn un dra phwysig. Os nad yw pechod cyntaf Adda yn effeithio ar ei hiliogaeth yn y fath fodd ag i beri fod y natur ddynol yn llygredig, yna nid yw pawb a gedwir yn etifeddu bywyd tragywyddol trwy ras, na thrwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu. Oddiar yr ystyriaeth o hyn yr oedd Augustine yn casglu ei holl nerth i amddiffyn yr athrawiaeth am Bechod Gwreïddiol; yr hyn a wnaeth

yn llwyddiannus, er nad heb rai diffygion. Nid oedd ganddo syniadau goleu am berthynas foesol; ac am hyny y mae yn colli golwg weithiau ar yr hyn sydd yn hanfodol i bersonoliaeth pob dyn fel creadur rhesymol, ac ar natur pechod fel y mae yn gynnwysedig, nid mewn drwg naturiol, ond mewn anghydffurfiad â'r ddeddf foesol, ac mewn canlyniad y mae yn sylfaenu y cwbl ar y berthynas naturiol rhwng Adda a'i hiliogaeth. Yn ol ei farn ef yr ydym yn dyoddef y canlyniadau oblegid ein bod yn lwynau Adda pan oedd efe yn pechu, ac felly yn pechu ein hunain ynddo ef. Y mae mewn un man yn ymddangos fel pe buasai wedi cael trem ar yr athrawiaeth o gyfrifiad, ac yn dywedyd fod anghyfiawnder yr Adda cyntaf yn cael ei gyfrif i fabanod fel y mae cyfiawnder yr ail Adda yn cael ei gyfrif iddynt yn yr adenedigaeth: ond yn y cyffredin y mae yn aros mewn perthynas naturiol. Yr oedd yn berffaith gywir yn ei waith yn cymeryd perthynas yn sylfaen, heb yr hon nis gallasai fod cyfrifiad; ond dylasai fyned trwy y berthynas naturiol at berthynas foesol. Er hyny nid ysgrifenodd neb gyda mwy o eglurder i brofi y ffaith fawr fod pawb yn bechaduriaid; ac os na lwyddodd i esbonio y ffaith i foddlonrwydd, nid yw hyny ond yr hyn a ellir ei ddywedyd i ryw fesur am bawb a ddaeth ar ei ol. Yr anhawsder mawr yw dangos fod colledigaeth dyn yn hollol o hono ef ei hun, tra y mae ei gadwedigaeth yn hollol o ras. Y mae Augustine yn profi yr olaf yn eglur ac anwrthwynebol; ond efallai nad yw wedi bod mor llwyddiannus gyda'r rhan gyntaf. Gellir cymhwyso yr un sylw at yr hyn a ysgrifenodd am arfaeth Duw: ac yma y mae diffyg ychwanegol yn dyfod i'r golwg, yr hwn sydd yn tarddu o'i olygiadau ar fedydd. Gan ei fod yn dal fod pawb a fedyddir yn cael eu haileni, yr oedd dan yr angenrheidrwydd o addef syrthiad oddiwrth ras, er ei fod ar yr un pryd yn dadleu dros arfaeth ac etholedigaeth ddiammodol. Pe buasai yn dywedyd yn unig fod sail i ddysgwyl bendithion ysbrydol yn y gweinyddiad o fedydd, gallasai ochelyd yr anghysondeb hwn: ond yr oedd y syniadau dinystriol am effeithiolrwydd dieithriad pob cyflawniadau eglwysig wedi lefeinio yr athrawiaeth Gristionogol hyd yn nod yn yr oes hono; a'r hyn sydd yn rhyfedd ydyw, iddo ef weithio ei ffordd trwy y cwbl yn ngoleu yr Ysgrythyr i gael golwg mor eglur ar y gwirioneddau mawrion am etholedigaeth a gras penarglwyddiaethol Duw yn achubiaeth dynion. Yn ysgrifeniadau Augustine y gwelwn ganolddydd y cyfnod cyntaf ar ol dyddiau yr Apostolion. Yr athrawiaethau y bu efe yn eu hamddiffyn yw y rhai sydd yn gwneuthur y Bibl yr hyn ydyw fel dadguddiad o wirioneddau nad yw natur yn eu hamlygu, a'r rhai sydd yn enaid pob diwygiad,

yn fywyd ysbrydol i ddynion, ac o ganlyniad yn cael eu gwerthfawrogi gan bawb sydd yn teimlo fod gwahaniaeth rhwng crefydd a moesoldeb. Ond wedi ei amser ef, er na adawodd Duw ei hun yn ddi-dyst, eto daeth cymylau a thywyllwch yn raddol i orchuddio y gwledydd, rhoddwyd anghefnogaeth i ddysgeidiaeth, aeth crefydd ysbrydol yn fwy anamlwg mewn athrawiaeth ac ymarferiad, hyd nes y gwawriodd cyfnod newydd yn y canoloesoedd.

---

## PENNOD X.

## DUWINYDDION Y CANOLOESOEDD.

Y MAE wedi bod yn arferiad gan ysgrifenwyr anwybodus, y rhai a ddilynant y naill y llall heb wybod pa beth y maent yn ei ddywedyd, i siarad yn ddirmygus am y canoloesoedd, fel pe na byddent wedi cynnyrchu ond ychydig neu ddim yn deilwng o sylw, pan mewn gwirionedd mai o'r cyfnod hwnw y tarddodd rhan fawr o freintiau a rhagoriaethau yr oes hon. Yr oedd yr egwyddorion wedi eu dwyn i'r amlwg yn nechreuad Cristionogaeth: ond yr oedd yn rhaid iddynt gael tir i wreiddio ynddo cyn y gallasent ffrwythloni. Yn y lle cyntaf cymmerasant feddiant o ymerodraeth Rhufain; ond yn mhen ychydig ganrifoedd yr oedd y tir hwnw wedi ei weithio allan, ac er mwyn iddynt gael dyfnder daear yr oedd angenrheidrwydd am chwyldroadau gwladol cyffelyb i'r chwyldroadau naturiol y mae daearegwyr yn son am danynt. Hauwyd egwyddorion Cristionogaeth yn y tir newydd hwn; ac yr ydym ninnau yn awr yn medi o'r ffrwyth. Hyd yn nod y rhai nad ydynt yn gweled gwerth mewn duwinyddiaeth nis gallant lai na chyfaddef mai i'r amseroedd hyny yr ydym yn ddyledus am luaws o'r sefydliadau mwyaf daionus mewn ystyr wladwriaethol. Os edrychant drachefn ar yr adeiladau mwyaf prydferth yn Mrydain ac ar y Cyfandir, y rhai nid oes neb yn gallu eu hefelychu yn y dyddiau hyn, y mae yn rhaid iddynt gydnabod mai nid ffyliaid oedd pawb yn y canoloesoedd. Os trown eto at lenyddiaeth, dywedir wrthym gan y rhai sydd yn fwyaf addas i farnu fod Roger Bacon yn gymmaint dyn â'i olynwr,

Francis Bacon; ac mai un o'r beirdd mwyaf a fu erioed oedd Dante. Ac os meddyliwn am y wybodaeth ddyfnaf o bob gwybodaeth yn nesaf at dduwinyddiaeth, sef y wybodaeth am ddyn fel creadur rhesymol, y mae rhai ysgrifenwyr diweddar wedi cyrhaedd enwogrwydd nid bychan trwy adgyfodi golygiadau ymchwilwyr y canoloesoedd; ac y mae yn anhawdd cael gafael mewn gofyniad yn dwyn perthynas â'r wybodaeth hon nad ydynt hwy wedi meddwl am dano. Ond y testyn oedd yn denu eu bryd yn fwyaf llwyr, i'r hwn yr oeddynt yn talu gwarogaeth gyffredinol yn eu holl efrydiaeth, oedd duwinyddiaeth: ac y mae hyn yn myned yn mhell i roddi cyfrif am y sarhad a deflir arnynt gan yr awdwyr hyny sydd yn barnu nad oes dim yn werth i ddyn feddwl am dano ond achosion y byd a'r bywyd presennol.

Y Duwinydd cyntaf a gododd ar ol Augustine yn meddu digon o hynodrwydd i sylwi arno mewn traethawd byr fel hwn oedd Joannes Scotus Erigena* yn y nawfed canrif. Nid yw haneswyr yn cytuno am wlad ei enedigaeth; rhai yn barnu ei fod yn Gymro o sir Henffordd, ac eraill, gyda mwy o debygolrwydd, ei fod yn enedigol o'r Iwerddon, yr hon a elwid Scotia yn y dyddiau hyny. Y maent hefyd yn methu cydweled pa fodd i restru ei ysgrifeniadau, pa un ai fel diweddglo i'r oesoedd o'i flaen, neu fel arweiniad i Dduwinyddiaeth yr ysgolwyr yn yr oesoedd ar ol hyny. Ond yr hyn sydd yn brif destyn dadl yw ansawdd a thuedd ei olygiadau. Mae yn rhaid addef eu bod weithiau yn dra thywyll, ac yn gofyn amynedd i'w deall a'u cysoni â'u gilydd. Nid oes dim yn rhy ddwfn, nac yn rhy uchel, iddo ef amcanu treiddio i mewn iddo. Yn ei waith mwyaf gorchestol, "Am Raniad natur," y mae yn cymmeryd golwg ar bawb a phob peth sydd mewn bod, neu y gellir meddwl am danynt; ac yn rhanu y cwbl yn bedwar dosbarth fel y canlyn: 1. Y Natur sydd yn creu, ac nid yw yn cael ei chreu: 2. Y Natur sydd yn creu, ac yn cael ei chreu: 3. Y Natur sydd yn cael ei chreu, ac nid yw yn creu: 4. Y Natur nad yw yn creu, nac yn cael ei chreu. Y cyntaf yw Duw, yr hwn yw ffynhonell pob bod, ac nid yw yn derbyn bod o neb. Yr ail ddosbarth yw y drychfeddyliau dwyfol sydd yn rhoddi bod i'r holl greadigaeth, ac yn cael eu creu er tragywyddoldeb yn y meddwl dwyfol. Y trydydd dosbarth yw y greadigaeth, yr hon sydd fel y drychfeddyliau yn cael ei chreu, ond nid yw yn creu. Y pedwerydd dosbarth yw y mwyaf anhawdd

*Efallai nad yw yn afreidiol hysbysu i rai darllenwyr mai nid hwn oedd Duns Scotus. Y mae yr olaf yn perthyn i ddiwedd y drydedd ganrif ar deg: ac nid yw mewn un modd yn haeddu ei gymharu â'r cyntaf.

ei ddeall: ond y mae yn debyg mai yr hyn a feddylir yw Duw, nid fel Creawdwr yn rhoddi bod, ond fel Gwrthddrych y greadigaeth yn casglu y byd yn ol ato ei hun. Felly, yn ol barn Erigena, y mae y cwbl yn dechreu yn Nuw, i'r hwn nid oes dechreu, ac yn derbyn bod o hono ef mewn drychfeddyliau yn Mherson y Mab er tragywyddoldeb, yr hwn nid yw, fel y drychfeddyliau yn grëedig, ond yn dragywyddol genedledig. Yn yr ystyr yma yr oedd pob peth yn bresennol i Dduw erioed yn y Mab; a'r achosydd o'u dyfodiad i'r golwg mewn amser yw yr Ysbryd Glan. Y mae pob creadur yn derbyn ei fod oddiwrth y Tad, yn dyfod i fod mewn drychfeddwl yn y Mab, ac yn dyfod i fod yn weithredol trwy yr Ysbryd Glân. Ac yn nhrefn y prynedigaeth y maent yn cael eu casglu yn ol i'r undeb tragywyddol yn y Mab at y Tad, fel y byddo Duw oll yn oll.

Nid yw hyn ond crynodeb byr ac anmherffaith o'r pethau mwyaf dealladwy yn ysgrifeniadau Erigena. Y mae ganddo lawer o ddywediadau nas gellir genderfynu eu bod yn wirionedd; a rhai nas gellir ammeu eu bod yn groes i'r gwirionedd. Ond yn y cwbl, a thrwy y cwbl, y mae un peth yn amlwg, sef ei fod yn rhoddi y lle uwchaf a blaenaf i Dduw yn ei gyfundraeth; ac o ganlyniad nas gallai fod yn ochri at y Pelagiaid. Er hyny bu dadl rhyngddo ef a rhai o brif amddiffynwyr athrawiaeth gras yn yr oes hono: ac nid yw yn hawdd dywedyd pa un o honynt oedd yn cadw agosaf at yr hyn yr oeddynt oll yn ei broffesu, sef eu bod yn cytuno ag Augustine. Un o'r rhagoriaethau a berthynent i Augustine oedd yr olwg ëang a gymmerai ar yr athrawiaeth yn ei holl ranau. Ond wedi hyny cyfododd dysgyblion iddo ar wahanol amserau, yn meddu ar ddybenion da, ond ar feddyliau cyfyng; ac oblegid hyny yn analluog i weled mwy na rhan o'r gwirionedd fel yr oedd wedi ei egluro yn nghyfundraeth eu meistr. Yr oeddynt yn tybied nas gallasent fyned yn rhy bell i bleidio athrawiaethau gras, yr hyn sydd berffaith wirionedd: ond dylasent gofio hefyd nas gellir myned yn rhy bell i bleidio sancteiddrwydd a chyfiawnder Duw, ynghyd a chyfrifoldeb dyn. Nid trwy fyned yn rhy bell ar un llaw yr oeddynt yn cyfeiliorni; ond trwy wadu y rhanau cyferbyniol o'r gwirionedd dwyfol. Un o honynt oedd Gottschalk yn y nawfed canrif. Y pwnc yr ymaflodd efe ynddo oedd Arfaeth Duw; a'r olwg a gymmerodd ar y pwnc hwn oedd, fod yr arfaeth yn ddeuplyg, fod Duw wedi arfaethu y duwiol i iachawdwriaeth, a'r annuwiol i ddamnedigaeth. Nid oes un ammheuaeth nad oedd oddiar y dyben goreu yn ceisio gwrthwynebu yr hyn a ystyriai efe yn gyfeiliornad peryglus: ac y mae y driniaeth a dderbyniodd oddiwrth Hinkmar yn creu teimlad o'i blaid, pa beth bynag oedd

teilyngdod ei ddaliadau. Y mae yn hysbys hefyd i bawb sydd yn gydnabyddus ag ysgrifeniadau Augustine, fod ynddynt rai brawddegau achlysurol yn ymddangos fel yn cadarnhau golygiad Gottschalk: ond y mae rhediad cyffredin yr holl ymresymiadau yn gystal a lluaws o ymadroddion pennodol, yn dangos fod Augustine yn credu mai arfaeth i fywyd oedd arfaeth Duw, ac mai y rhai a gedwir yw y rhai arfaethedig. Dyma y tir a gymerodd Erigena wrth ysgrifenu yn erbyn Gottschalk: ond parodd yntau i rai feddwl ei fod yn myned yn mhellach i gyfeiliornad yr ochr arall, trwy ddadleu, nid yn unig nad oedd pechod wedi ei arfaethu, ond nad oedd yn wrthddrych rhagwybodaeth Duw. Y mae Staudenmeier, yr hwn sydd wedi chwilio yn lled fanwl i'r mater, yn barnu nad oedd Erigena yn meddwl dim yn amgen na gwadu fod unrhyw ddrwg fel drychfeddwl yn Nuw, yr hyn nid yw ond yr un peth ag a ddywedwyd wedi hyny gan Aquinas, ac eraill a gyfrifid yn ddigon uniongred. Yr oedd Erigena yn cael sail i'w olygiad yn y dyb nad yw pechod yn meddu ar fodolaeth, eithr ei fod yn hollol o natur nacâol: ac yr oedd hyn yn cael ei ddysgu unwaith gan Augustine, er nad yw yn gwneuthur y defnydd hyny o hono a allesid ei ddysgwyl wrth ysgrifenu yn erbyn y Pelagiaid. Yn y dyb hon hefyd am natur nacâol pechod yr oedd Gottschalk yn cytuno ag Erigena: ac y mae Neander yn barnu nad oedd nemawr wahaniaeth rhwng y ddau, oddieithr yn y dull o eirio. Mae yn sicr nad oedd Gottschalk yn dal fod Duw wedi arfaethu pechod, er ei fod yn dywedyd fod Duw wedi arfaethu cospi pechaduriaid: er hyny, gyda phob parch iddo fel dyn oedd yn ymdrechu yn gydwybodol o blaid athrawiaeth gras, y mae yn rhaid addef fod diffygion hanfodol yn ei gyfundraeth. Ond yr oedd Erigena yn myned gymaint i eithafion yr ochr arall, trwy ddadleu nad yw Duw yn cospi pechod, gan mai canlyniad naturiol pechod yw annedwyddwch. Dyma un o'i resymau gwanaf: ond pan yn dywedyd na ddylid edrych ar arfaeth Duw fel tynged, ond fel meddwl y Duw grasol, i'r hwn nid oes dreigliad amser yn bod, y mae ar dir cadarn. Nid efe a ddygodd hyn i'r golwg; oblegid y mae i'w weled yn ngwaith Augustine, ac eraill o'r Tadau: ond y mae efe wedi gwnenthur mwy o ddefnydd o hono na neb a fu o'i flaen; ac y mae yn ddiau ei fod yn bwnc Ysgrythyrol. Nid yw y golygiad hwn yn gwaghau tragywyddoldeb; ond y mae yn llanw amser. Yn lle arwain y meddwl i chwilio yn nhragywyddoldeb diddechreu am fwriadau yr Anfeidrol, er mwyn gwybod pa beth a wna mewn amser, y mae yn ein dwyn i edrych pa beth yw Duw yn awr, ac i wybod trwy hyny pa beth ydyw er tragywyddoldeb. Pa le

bynag y mae Duw, yno y mae ei feddwl; a pha le bynag y mae ei feddwl, yno y mae ei arfaeth. Yn lle gwrthwynebu athrawiaethau gras, y mae yr olwg yma arnynt yn rhoddi mantais neillduol i'w hamddiffyn, gan ein bod fel hyn yn taflu pwys y ddadl ar y gofyniad, Pa un ai yn Nuw, ai ynom ni, y mae yr achos o'n cadwedigaeth? Os yn Nuw y mae yr achos, y mae yn rhaid fod yr achos hwnw yn ei feddwl grasol ef ei hun, yr hyn sydd yr un peth â'i fod wedi arfaethu achub y rhai a achubir. Ond o'r tu arall, y mae yn eglur na fyddai yn addas i ni ddywedyd mai yn Nuw y mae yr achos o golledigaeth neb; ac am hyny ni ddylid tybied fod Duw wedi arfaethu eu colledigaeth.

Ar ol Erigena nid ydym yn cyfarfod â neb y mae ei enw yn ddigon amlwg i fod yn golofn i gyfarwyddo ein camrau wrth ddilyn hanes yr athrawiaeth nes y deuwn i lawr at ANSELM yn yr unfed ganrif ar ddeg. Dyma un sydd yn haeddu ei restru yn y dosbarth blaenaf fel athronydd a duwinydd. Efe oedd gwrthwynebwr penaf Roscellin, yr hwn a ddadleuai nad oes drychfeddyliau cyffredinol yn bod, ac nad yw sancteiddrwydd a chyfiawnder ond geiriau heb un ystyr sylweddol, yr hyn a'i harweiniodd i gymeryd golwg anianyddol a chyfeiliornus ar rai o'r prif athrawiaethau mewn duwinyddiaeth. Y cyfryw yw yr undeb rhwng athroniaeth a duwinyddiaeth: ac y mae yn dyfod i'r golwg yn y naill ochr yn gystal a'r llall. Yr oedd Anselm yn dal fod gwirioneddau tragywyddol yn bod, ac hefyd fod meddwl dyn i ryw raddau yn alluog i'w canfod. Am ei wrthwynebwyr y mae yn dywedyd, "Y mae rheswm, yr hwn a ddylai lywodraethu a barnu pob peth mewn dyn, yn cael ei gymylu yn eu heneidiau hwy gan ddelweddau corfforol yn y fath fodd fel nad yw yn gallu rhyddhau ei hun o honynt, ac nad yw yn gallu gwahaniaethu oddiwrthynt y pethau hyny y dylai edrych arnynt o hono ei hun ac yn ddigymysg." Ar y gwirioneddau tragywyddol hyn, y mae yn sylfaenu ei brawf am y Bôd o Dduw. Yn un o'i draethodau y mae yn sylwi, "Y mae yr hyn sydd yn wir ac yn dda yn arwain i fynu at ffynhonell gyntefig pob peth sydd yn wir ac yn dda, o'r hon nid yw pob gwirionedd a daioni ond dadguddiad. Y mae pob gwirionedd yn rhagdybied Bôd anghyfnewidiol ac angenrheidiol, heb yr hwn ni fyddai un gwirionedd. Heb Dduw, heb wirionedd. Y mae gwirionedd mewn meddwl yn rhagdybied gwirionedd mewn bôd." O ddiffyg sylwi ar hyn, y mae llawer yn methu deall ei ymresymiad yn y "*Proslogium.*" Y mae genym ddrychfeddwl am Fôd mor fawr fel nas gall neb fod yn fwy; ac oddiwrth hyn y mae efe yn ymresymu fod y Gwrthddrych hwn yn bod mewn gwirionedd; oblegid pe na buasai yn bod ond yn unig

mewn drychfeddwl, gallesid meddwl am un mwy, sef am un yn bod ynddo ei hun. Y mae grym yr ymresymiad yn tarddu o wirionedd angenrheidiol y drychfeddyliau gwreiddiol. Mae yn wir y gallwn feddwl, fel y dywed Gaunilo yn ei wrthddadl, am ynys brydferth yr hon nid yw yn bod mewn gwirionedd. Ond yr ateb effeithiol ydyw, er nad yw Anselm wedi ei ddwyn allan gyda'r eglurder a allesid ddysgwyl, nad yw yr Ynys yn ddrychfeddwl gwreiddiol mewn dyn; a'r prawf o hyny ydyw, nad oes angenrheidrwydd yn gysylltiedig â'r meddwl am ei bodolaeth. Yr hyn sydd yn ddrychfeddwl gwreiddiol ynom, nis gellir tybied iddo beidio bod. Nis gellir dadleu yn erbyn gwirioneddau angenrheidiol trwy ddywedyd y gallent fod yn wahanol, oblegid yr ydym yn gwybod mai fel hyn y maent am ein bod yn teimlo mai fel hyn y mae yn rhaid iddynt fod. Yn awr y mae ynom ddrychfeddwl gwreiddiol am Fôd perffaith, a chan ein bod dan yr angenrheidrwydd o gredu gwirionedd ein drychfeddyliau gwreiddiol, y mae yn rhaid i ni gredu fod y Bôd perffaith hwn yn bod. Ond gellir codi gwrthddadl, er i ni gredu ei fod o angenrheidrwydd, eto nad yw hyn yn cynnwys bodolaeth bersonol ond yn unig ei fodolaeth angenrheidiol fel drychfeddwl, fel yr ydym yn credu am gyfiawnder, sancteiddrwydd, a'r drychfeddyliau eraill. Yn ateb i hyn y mae ymresymiad Anselm yn dyfod i mewn, fod y Bôd perffaith hwn y mae genym ddrychfeddwl am dano, yn un mor fawr fel nas gellir meddwl am neb mwy. Y mae hyn yn rhagdybied fod iddo fodolaeth bersonol, oblegid heb hyny gallesid meddwl am un mwy, gan fod un sydd yn meddu bodolaeth bersonol yn fwy nag un sydd yn bod yn unig fel drychfeddwl. Wrth roddi yr ystyriaethau hyn at eu gilydd, y mae yr ymresymiad yn gyflawn. Gan ein bod dan yr angenrheidrwydd o gredu gwirionedd ein drychfeddyliau, y mae yn rhaid i ni gredu fod Un Anfeidrol yn bod: a chan fod y drychfeddwl hwn yn cynnwys ei fod mor fawr fel nas gall neb fod yn fwy, y mae yn rhaid ei fod yn meddu bodolaeth bersonol, ac nid mewn drychfeddwl yn unig. Nid oes un gwendid yn y prawf, ond yr hyn sydd yn tarddu o'r anhawsder i ddangos fod genym ddrychfeddwl angenrheidiol am Fôd Anfeidrol: ac efallai mai mwy boddlonol yw y prawf arall, lle y mae Anselm yn dechreu gyda phriodoliaethau moesol, megys cyfiawnder, a'r cyffelyb, y rhai nis gellir gwadu fod genym ddrychfeddyliau am danynt, ac yna yn myned yn mlaen i ddangos fod y priodoliaethau hyn yn rhagdybied Bôd anghyfnewidiol heb yr hwn nis gallasent hanfodi.

Ond ei waith penaf, yr hwn sydd yn cyfansoddi y ***nôd anghen*** yn hanes yr athrawiaeth dros gyfnod y canoloesoedd, hyny yw, yn ei wahaniaethu

oddiwrth bob cyfnod blaenorol, yw ei ymresymiad am natur ac angenrheidrwydd yr Iawn. Y mae yr ymresymiad hwn eto yn tarddu o'i olygiad am y drychfeddyliau, yr hyn sydd yn rhoddi unoliaeth i'w holl ysgrifeniadau, ac yn cysylltu ei ysgrifeniadau ef a'r eiddo Erigena o'i flaen. Nid yw o un pwys gyda golwg ar gadernid yr ymresymiad, er y gall effeithio ychydig ar ei brydferthwch a'i berffeithrwydd, pa un a gydnabyddir y drychfeddyliau mewn rhan yn unig, neu yn eu holl ëangder fel y gosodid hwynt allan gan Plato, a chan Dduwinyddion penaf yr oesoedd, megis Augustine ac Anselm. Y cwbl sydd yn anhebgorol ydyw, cydnabod fod crediniaeth angenrheidiol yn y meddwl o ryw wirioneddau neu egwyddorion anghyfnewidiol; ac os na addefir hyn y mae yn rhaid i ddyn wadu ei hun. Er hyny y mae llawer wedi gwneuthur y cam hwn â'u natur hwy eu hunain. Yn ol eu tyb hwy nid oes y fath beth yn bod ag egwyddorion angenrheidiol ac anghyfnewidiol; nid yw cyfiawnder ond rhywbeth sydd yn tarddu o osodiad, yr hwn y gellir ei ddifodi mewn amgylchiadau pennodol; ac nid oes gwahaniaeth hanfodol yn bod gan hyny rhwng pechod a sancteiddrwydd. Os gofynir iddynt, Paham y mae Duw yn cospi pechod? Yr ateb ydyw, ei fod wedi dewis cysylltu pechod â chosp, ac nad yw y cysylltiad yn bod o angenrheidrwydd: neu, y maent yn syrthio yn ol i orphwys yn y dybiaeth nad yw cospedigaeth pechod yn ddim mwy na'r anedwyddwch naturiol sydd yn tarddu o'r creadur, ac nad yw y Creawdwr mewn un modd yn cospi pechod. Y mae yr holl ddadl yn troi ar ddau ofyniad: yn gyntaf, A ydyw cyfiawnder yn galw am gosbi pechod? ac yn ail, A ydyw y cyfiawnder hwn yn anghyfnewidiol? Y mae pob meddyliwr yn mhob oes ag sydd yn credu fod egwyddorion tragywyddol yn bod wedi gorfod teimlo nas gellir rhoddi atebiad nacâol i'r un o'r ddau ofyniad. Ond er fod yr atebion i'r gofyniadau hyn yn ein harwain o angenrheidrwydd i gredu nas gallesid maddeu pechod heb Iawn, nid oedd neb wedi llwyddo i ddwyn y cysylltiad i eglurder hyd ddyddiau Anselm. Ond erbyn hyn y mae yn cael ei addef yn gyffredinol gan Dduwinyddion Efengylaidd, nid yn unig gan y rhai mwyaf Calfinaidd, ond gan y rhai mwyaf cymedrol, megis John Howe, y meddyliwr mwyaf yn mysg yr Anghydffurfwyr, a Richard Watson, y meddyliwr mwyaf yn mysg y Wesleyaid.

Ysgrifenodd Anselm ar lawer o faterion eraill; ond nid ar un heb daflu rhyw oleuni arno. Yr oedd yn dadleu dros arfaeth dragywyddol yn Nuw, a rhyddid ewyllys mewn dyn; ac nad oedd y naill mewn un modd yn rhwystr i'r llall. Yr oedd yntau yn cael esboniad ar eu cyd

weithrediad cyson yn y gwahaniaeth rhwng tragywyddoldeb ac amser. O safle tragywdydoldeb y mae y cwbl yn bresennol, ac felly yn angenrheidiol ac anghyfnewidiol: ond yn y dadblygiad mewn amser y mae gorphenol a dyfodol, ac felly y mae yr hyn sydd yn dyfod i fod yn ymddangos mewn canlyniad i ryddid yr ewyllys yn gyfnewidiol. Nid yw Duw yn achosi pechod; oblegid nid oes achos yn bod i bechod, ond y mae ar yr un pryd yn achos ac yn effaith. Ond er ei fod yn credu rhyddid yr ewyllys, nid yw yn tybied fod hyny yn gynnwysedig mewn gallu i ddewis drwg neu dda, gan nas gellid ei briodoli felly i'r Bodau hyny sydd yn ei feddu yn yr ystyr uchaf, sef Duw ac ysbrydoedd y cyfiawn y rhai a berffeithiwyd. Rhyddid ewyllys, yn ol ei farn ef, yw gallu i gadw tuedd, ar ol ei derbyn unwaith, at yr hyn sydd dda er ei fwyn ei hun. Am bechod gwreiddiol y mae yn ymresymu, gan fod y natur ddynol i gyd yn Adda, yn y fath fodd fel nad oedd dim o honi yn bod y tuallan iddo ef, y mae yn rhaid fod yr holl ddynoliaeth wedi myned yn llygredig ynddo ef. Yn yr oesoedd hyny hefyd bu llawer o drafod ar y gofyniad, Pa un oedd yn fwyaf priodol dweyd, *Fod Crist yn gallu peidio pechu*, neu ynte, *nad oedd Crist yn gallu pechu.* Atebiad Anselm oedd, "Gallasai Crist bechu pe buasai yn ewyllysio, ond nis gallasai ewyllysio pechu: buasai y cyfryw ewyllys yn sefyll mewn gwrthdarawiad i'w sancteiddrwydd. Yr oedd angenrheidrwydd moesol yn natur y Duw-ddyn, yr hwn angenrheidrwydd nid yw yn cau allan ryddid." Ond er mor ddiwyd y bu Anselm, ac er mor rhagorol oedd ei ysgrifeniadau, nid yw yn ymddangos iddo effeithio llawer yn uniongyrchol ar dduwinyddiaeth ei oes. Yr oedd gymaint uwchlaw i'r cyffredin o'i gydoeswyr fel nad oeddent yn gweled ei fawredd, nac o ganlyniad yn gallu ei werthfawrogi. Ond effeithiau anuniongyrchol yw y rhai mwyaf grymus a pharhaus.

Yn yr un ganrif yr ydym yn cyfarfod â duwinydd arall, tra gwahanol i Anselm yn mhob ystyr, sef Abelard. Yr oedd Anselm yn edrych ar bob gwirionedd mewn goleuni ysbrydol; ond yr oedd Abelard yn ceisio darostwng y cwbl i diriogaeth synwyr. Y mae y gwahaniaeth hwn rhyngddynt yn dyfod i'r golwg yn eu barnau am gyfiawnder Duw, am ddrwg pechod, ac am natur y prynedigaeth. Yn ol Abelard, y mae y gwahaniaeth rhwng pechod a sancteiddrwydd yn ymddibynu ar yr ewyllys ddwyfol. Fel y mae eithafion yn gyffredin yn cydgyfarfod, felly yr ydym yn gweled Abelard, yr hwn nis gallai gymmodi ei hun â gras penarglwyddiaethol, er hyny yn dadleu fod Duw yn cospi o'i benarglwyddiaeth. Ei eiriau ydynt, "Yr wyf yn dal, pa fodd bynag y mae Duw yn dewis ymddwyn

at ei greadur, nas gellir dywedyd ei fod ef yn gwneuthur cam â neb. Ac nis gellir galw unrhyw beth yn ddrwg, yr hwn sydd yn cymeryd lle yn ol ei ewyllys ef: oblegid nis gallwn wahaniaethu y da oddiwrth y drwg mewn unrhyw ffordd arall, oddieithr trwy ei fod yn unol â'i ewyllys ef ac yn gynnwysedig yn ei foddlonrwydd ef." Gan mai felly yr oedd yn synied am gyfiawnder, nid yw yn rhyfedd ei fod yn methu gweled natur y prynedigaeth. Yr oedd yn edrych ar ymgnawdoliad a dyoddefiadau Mab Duw fel amlygiad o gariad dwyfol yn unig. Nid oedd angen am gymodi Duw â phechadur, ac am hyny nid oedd hyn mewn bwriad yn marwolaeth Crist: ond y mae yn effeithio i gynyrchu cariad ynom ni wrth ganfod cariad Duw yn rhoddi ei Fab i ddyfod yn ddyn ac i ddyoddef drosom. Yn yr un modd, nid yw cyfiawnhad yn ddim amgen na'r cyfiawnder tufewnol a gynyrchir ynom gan y cariad hwn. Bod yn fwy llawn o gariad yw bod yn fwy cyfiawn: ac y mae y saint yn fwy cyfiawn wedi i Grist farw nag oeddynt cyn hyny, oblegid eu bod yn fwy llawn o gariad. Y mae hyn yn ddigon i ddangos beth oedd golygiadau Abelard; yr hwn, er ei fod yn ddyn tra galluog, eto prin y mae yn werth ei gofnodi fel duwinydd oddieithr mewn gwrthgyferbyniad i Anselm. Ac nid llawer mwy o oleuni ar unrhyw athrawiaeth a geir yn ysgrifeniadau Lombard yn y deuddegfed ganrif, er iddo enill gwarogaeth mwy na chyffredin yn yr eglwys am oesoedd trwy gyfrwng y llyfr a gyhoeddodd dan yr enw, "Brawddegau;" yr hwn nid oedd yn cynnwys nemawr o sylwadau gwreiddiol, namyn brawddegau o ysgrifeniadau yr hen awdwyr, yn enwedig Augustine a Gregory, ynghyd a holiadau oddiwrthynt, ac esboniadau i'w cysoni â'u gilydd.

Ond yr un a effeithiodd fwyaf ar hanes yr athrawiaeth, yn nesaf at Anselm, os nad yn nesaf at Augustine, oedd Thomas Aquinas. Ei brif hynodrwydd ef oedd helaethrwydd a manylrwydd ei ymchwiliadau. Y mae yn anhawdd dyfeisio un gofyniad mewn duwinyddiaeth na cheir rhyw fath o atebiad iddo yn ei ysgrifeniadau, a hwnw yn gyffredin yn atebiad eglur ac ystyriol, er efallai na fydd yn dangos llawer o wreiddiolder na dyfnder meddwl. Yn y rhagoriaethau olaf hyn nid yw yn haeddu ei gymharu ag Augustine nac Anselm; ond mewn cyflawnder a threfnusrwydd dylid rhoddi y flaenoriaeth i Aquinas. Yr oedd hefyd yn olynwr ffyddlawn iddynt o ran sylwedd ei olygiadau duwinyddol. Efe oedd prif amddiffynwr yr athrawiaeth efengylaidd yn y drydedd-ganrif-ar-ddeg, er fod effeithiau yr oes yr oedd yn byw ynddi i'w canfod arno, mewn amryw ffyrdd, ond yn benaf trwy beri iddo roddi derbyniad i gyfeiliornadau, y rhai

oeddynt yn anurddo y gwirionedd, er y gellid olrhain yr hadau o honynt yn ol i Augustine. Er hyny, nis gellir peidio rhyfeddu ei fod mor rhydd oddiwrthynt, wrth ystyried yr amgylchiadau yr oedd ynddynt, ac yn enwedig wrth ei gymharu â rhai o'i gydoeswyr. Ei brif wrthwynebwr, neu yn hytrach prif wrthwynebwr ei ysgrifeniadau, oedd Duns Scotus, yr hwn a fu yn athraw yn Rhydychen, ac wedi hyny yn Paris, yn nechreu y bedwaredd-ganrif-ar-ddeg, a'r hwn oedd mor wahanol iddo mewn iaith ag ydoedd mewn barn. Yr oedd Aquinas yn ysgrifenu mewn iaith hawdd i bawb ei deall, fel y mae y meddylwyr mwyaf yn gyffredin; ond yr oedd ysgrifeniadau Duns Scotus yn llawn o'r geiriau mwyaf dyeithriol a barbaraidd. Ac nid oedd y geiriau hyn ond arwyddion gweledig o'i duedd i ddadleu am bethau nad oedd un penderfyniad i'w gael arnynt, yr hyn a ddygodd anfri diachos ar yr Ysgolwyr yn gyffredinol. Yr oedd ei wrthwynebiad i Aquinas yn tarddu gan mwyaf, er nad yn hollol, o wahaniaeth barn gyda golwg ar y pynciau hyny sydd yn mhob oes wedi creu ymrafaelion yn yr eglwysi gorllewinol. Er nad oedd Duns Scotus yn myned mor bell â Pelagius, eto at yr ochr hono yr oedd yn tueddu. Ond yr oedd Aquinas yn ofalus am adeiladu ar y sylfaen, er fod gandd goed, gwair, a sofl, yn gystal a meini gwerthfawr, yn yr adeiladaeth. Yr oedd yn gweled fod gwahaniaeth rhwng cyfiawnder Duw yn cospi, a gras penarglwyddiaethol yn achub: ac yr oedd o ganlyniad yn cydsynied ag Anselm am natur yr Iawn, mor bell a chydnabod fod dyoddefaint Crist yn ateb gofynion cyfiawnder. Yn nglŷn a'r athrawiaeth am yr Iawn yr oedd gofyniad arall wedi adgyfodi yn ei amser ef, A fuasai yn angenrheidiol i'r Mab gymeryd y natur ddynol i undeb ag ef ei hun pe buasai pechod heb ddyfod i'r byd? Yr oedd rhai dynion da yn tybied fod perffeithrwydd y greadigaeth yn galw am hyny: ond y mae Aquinas yn barnu mai mwy diogel yw aros yn y golygiad mai pechod oedd yn gwneuthur yr ymgnawdoliad yn angenrheidiol. Gyda golwg ar etholedigaeth, ar gyflwr dyn wrth natur, ac ar gadwedigaeth yn hollol o ras, nid oedd un gwahaniaeth o bwys rhyngddo ag Augustine: ac yr oedd yr un diffyg hanfodol yn marn y ddau am natur cyfiawnhad.

Ond gan fod Aquinas wedi ysgrifenu Corff o Dduwinyddiaeth, neu fel y gelwir ef, "Crynodeb o Dduwinyddiaeth Gyflawn," a chan ei fod mewn gwirionedd yn un o'r rhai mwyaf cyflawn, ac efallai y cyflawnaf, a gyfansoddwyd erioed, ni ddylid myned heibio i'r gwaith hwnw heb sylw mwy neillduol. Nid casgliad o draethodau ydyw ar wahanol bynciau heb reol na threfn: ond corff o wirioneddau, y rhai y mae yr un meddwl

yn eu llywodraethu. Y mae y gair "Duwinyddiaeth," yn ol ei farn ef, yn arwyddo y wybodaeth am Dduw; ac felly Duw yw y drychfeddwl mawr sydd yn uno y cwbl â'u gilydd. Ond y mae y wybodaeth am Dduw yn cynnwys tri pheth:—yn gyntaf, Am Dduw ei hun. Yn ail, Am ymddygiad creadur rhesymol at Dduw. Yn drydydd, Am Grist, yr hwn yw ein ffordd i fyned at Dduw.

Wedi hyny y mae yn rhanu y cyntaf o'r tri yn dair rhan fel y canlyn. Y mae yr ystyriaeth am Dduw yn driphlyg. Yn gyntaf, Ni a ystyriwn y pethau hyny sydd yn dwyn perthynas â'r hanfod ddwyfol. Yn ail, Y pethau hyny sydd yn dwyn perthynas â gwahaniaethiad y personau yn yr hanfod ddwyfol. Yn drydydd, Y pethau hyny sydd yn dwyn perthynas â gwaith Duw yn dwyn creaduriaid i fod.

Yna y mae y cyntaf o'r tri hyn eto yn cael ei ranu yn dri fel y canlyn. Mewn perthynas i'r hanfod ddwyfol, dylem ystyried, yn gyntaf, Y Bôd o Dduw. Yn ail, Pa fodd y mae yn bod: neu yn hytrach, pa fodd nad yw yn bod. Yn drydydd, Am y pethau hyny sydd yn perthyn i'w weithrediad, sef ei wybodaeth, ei ewyllys, a'i allu.

Drachefn y mae y cyntaf o'r tri hyn yn cael ei ranu yn dri. Yn gyntaf, A ydyw Duw i'w adnabod o hono ei hun? Yn ail, A ydyw Duw yn un y gellir profi ei fod? Yn drydydd, A ydyw Duw yn bod?

Gwelir fod y tri gofyniad yma yn perthyn i'r pwnc cyntaf yn y dosbarth olaf ond un, sef, y Bôd o Dduw. Ar ol traethu arnynt, y mae yn myned at yr ail bwnc yn yr un dosbarth, sef, Pa fodd y mae Duw yn bod, ac yn rhanu hwnw drachefn yn amryw faterion. Wedi gorphen gyda'r rhai hyn y mae yn gwneuthur yn yr un modd gyda'r trydydd pwnc yn yr un dosbarth. Erbyn hyn y mae wedi gorphen y cwbl sydd ganddo i'w ddywedyd dan y pen cyntaf yn yr ail dosbarth. Yna, y mae yn myned ymlaen at yr ail ben, yn yr ail ddosbarth, ac yn dilyn hwnw yn yr un modd i'w holl ranau a'i adranau. Wedi hyny, y mae yn gweuthur yr un peth gyda'r trydydd pen, yn yr ail ddosbarth. Erbyn hyn, y mae wedi gorphen gyda'r pen cyntaf, yn y dosbarth cyntaf, sef, Am Dduw; ac yn myned at yr ail ben, yn y dosbarth cyntaf, sef, Ymddygiadau creaduriaid rhesymol tu ag at Dduw. Dan y pen hwn eto y mae ganddo raniadau, a than bob un o'r rhaniadau hyny y mae ganddo adraniadau, a than bob un o'r adraniadau hyny y mae ganddo ail-adraniadau. Ac y mae y trydydd pen, yn y dosbarth cyntaf, sef, Am Grist, yn ymganghenu mewn dull cyffelyb. Dichon yr ymddengys i rai fod yma ormod o gywreinrwydd. Ond dylid sylwi nad yw yr awdwr yn cymeryd trafferth i'w

ddangos, ac mai yn achlysurol y mae yn dyfod i'r golwg. Pa fodd bynag, nis gellir gwadu ei fod yn troi ac yn trosi pob pwnc yn ofalus, er mwyn edrych arno yn ei holl ranau, ac o wahanol gyfeiriadau. Fel anghreifftiau o fanyldra ei ymchwiliadau, ac hefyd fel testynau myfyrdod i ambell ddarllenydd yn y dyddiau presennol, gellid casglu at eu gilydd yma rai o'r materion y mae yn traethu arnynt mewn cysylltiad ag ymddygiadau dynion at Dduw, ac â'r waredigaeth trwy Grist. Wrth ymdrin ag ymddygiadau dynion, y mae yn dyfod o'r diwedd at yr athrawiaeth am bechod, ac yn rhanu yr athrawiaeth hono dan chwech o benau. Un o honynt yw yr achosion o bechod. Ar ol traethu am yr achosion yn gyffredinol, y mae yn dyfod at yr achosion yn neillduol, y rhai a renir ganddo yn dri dosbarth: yn gyntaf, Am yr achosion tufewnol; yn ail, Am yr achosion allanol; yn drydydd, Am bechodau sydd yn achos o bechodau. Y mae yn rhanu y cyntaf eto fel y canlyn:—

I. Am yr achosion o bechod o du y rheswm.

1. A ydyw anwybodaeth yn achos o bechod?
2. A ydyw anwybodaeth yn bechod?
3. A ydyw anwybodaeth yn esgusodi pechod yn hollol?
4. A ydyw anwybodaeth yn lleihau pechod?

II. Am yr achosion o bechod o du y teimladau.

1. A ydyw teimlad yn gallu effeithio ar yr ewyllys?
2. A ydyw yn gallu gorchfygu y rheswm yn groes i'w wybodaeth?
3. A ydyw pechod, pan yn deilliaw o deimlad, yn bechod o wendid?
4. A ydyw hunan-gariad yn ffynhonell pob pechod?
5. Ai priodol yw dywedyd fod chwant y cnawd, chwant y llygad, a balchder y bywyd, yn achosion o bechod?
6. A ydyw pechod yn cael ei leihau yn herwydd teimlad neu nwyd?
7. A ydyw nwyd yn esgusodi pechod yn hollol?
8. A all pechod, os bydd yn tarddu o nwyd, fod yn bechod marwol?

III. Am yr achosion o bechod o du yr ewyllys.

1. A all un bechu o wir falais, neu o fwriad?
2. A ydyw pob un sydd yn pechu o anian yn pechu o falais?
3. A ydyw pob un sydd yn pechu o falais yn pechu o anian?
4. A ydyw yr hwn sydd yn pechu o falais yn pechu yn waeth na'r hwn sydd yn pechu o nwyd?

Wedi sylwi ar yr holl adraniadau hyn, y rhai sydd yn perthyn i'r pen cyntaf o'r achosion, sef yr achosion tufewnol, y mae yn sylwi yn y lle nesaf ar yr ail ddosbarth o achosion, sef yr achosion allanol; yn gyntaf,

Yr achosion o du Dduw; yn ail, O du y diafol; yn drydydd, O du y dyn. Byddai yn rhy faith i ni ei ddilyn yn ei ymchwiliad i'r cyntaf a'r ail: ond dylid crybwyll, wrth fyned heibio, ei fod yn gwadu yn benodol fod Duw yn achos o bechod, er ei fod yn cydnabod fod Duw yn achos o bob gweithred, mor bell ag y mae yn weithred. Dan y trydydd, sef yr achosion o du y dyn, y mae yn traethu am bechod gwreiddiol, ac yn ei ranu fel y canlyn:—

I. Am y trosglwyddiad o bechod gwreiddiol.

1. A ydyw pechod cyntaf y dyn cyntaf yn cael ei drosglwyddo yn wreiddiol i'w hiliogaeth?
2. A ydyw holl bechodau eraill y dyn cyntaf, neu bechodau rhyw rieni eraill, yn cael ei trosglwyddo i ni?
3. A ydyw y pechod gwreiddiol yn cael ei drosglwyddo i bawb sydd yn deilliaw o Adda trwy genhedliad naturiol?
4. A ydyw yn cael ei drosglwyddo i rai a genhedlir yn wyrthiol?
5. Pe buasai Efa heb bechu, ac Adda yn pechu, a fuasai ei hiliogaeth yn cyfranogi o bechod gwreiddiol?

II. Am hanfod pechod gwreiddiol.

1. A ydyw pechod gwreidiol yn anian?
2. Ai un pechod gwreiddiol yn unig sydd mewn un dyn?
3. Ai trachwant yŵ y pechod gwreiddiol?
4. A ydyw yn hanfodi i'r un gradd yn mhawb?

III. Am ddeiliad pechod gwreiddiol, neu yr hyn sydd yn ddarostyngedig iddo.

1. Pa un ai y cnawd, neu yr enaid, sydd yn fwyaf darostyngedig iddo?
2. Os yr enaid, pa un ai o ran ei hanfod, neu ei alluoedd yn unig?
3. A ydyw yr ewyllys yn fwy darostyngedig iddo na'r galluoedd eraill?
4. A ydyw rhai galluoedd wedi eu halogi yn fwy neillduol?

Ar gyfer y materion uchod ni a gymerwn olwg ar ymgnawdoliad Mab Duw, pwnc sydd yn haeddu mwy o sylw nag y mae wedi ei gael eto yn y wlad hon. Y mae yn rhanu y mater hwn yn dri; sef yn gyntaf, Y priodoldeb; yn ail, Y dull; ac yn drydydd, Y canlyniadau. Byddai yn rhy faith i ni olrhain y tri; ac am hyny ni a gyfyngwn ein sylw at y ddau gyntaf.

I. Am y priodoldeb o ymgnawdoliad Mab Duw.

1. A oedd yn addas i Dduw ymddangos yn y cnawd?

2. A oedd hyn yn angenrheidiol mewn trefn i adferu y natur ddynol?
3. Pe na buasai pechod yn bod, a fuasai Duw yn ymddangos yn y cnawd?
4. A ymgnawdolodd y Mab i ddileu pechod gwreiddiol yn fwy na phechod gweithredol?
5. A fuasai yn addas i'r ymgnawdoliad gymeryd lle yn nechreuad y byd?
6. A fuasai yn addas i'r ymgnawdoliad gael ei oedi hyd ddiwedd y byd?

II. Am ddull yr undeb rhwng y Gair a'r natur ddynol.

Yn gyntaf, Gyda golwg ar yr undeb ei hun?

1. A ydyw yr undeb wedi cymeryd lle mewn natur?
2. A ydyw wedi cymeryd lle mewn person?
3. A ydyw wedi cymeryd lle mewn *hypostasis*?
4. A ydyw person Crist ar ol yr ymgnawdoliad yn gyfansawdd?
5. A unwyd yr enaid â'r corff yn Nghrist?
6. A unwyd y natur ddynol â'r Gair fel meddiant allanol (*accidentaliter*)?
7. A ydyw yr undeb ei hun yn rhywbeth crëedig?
8. A ydyw yr undeb yr un peth a chymeryd y natur ddynol?
9. Ai undeb y ddwy natur yn Nghrist yw yr undeb uchaf?
10. A ydyw yr undeb hwn wedi ei wneuthur trwy ras?

Yn ail, Gyda golwg ar y Person.

1. A ydyw cymeryd y natur ddynol yn briodol i berson dwyfol?
2. A ydyw yn briodol i'r natur ddwyfol?
3. Os gadewir allan bersonoliaeth o'r meddwl, a ellir tybied am undeb y ddwy natur?
4. A ellir dweyd fod un person yn cymeryd y natur ddynol heb y lleill?
5. A ydyw yn addas dyweyd y gallasai y Tad, neu yr Ysbryd Glân, gymeryd y ddynoliaeth i undeb ag ef ei hun?
6. A allasai mwy nag un person gymeryd yr un natur?
7. A allasai un person gymeryd dwy natur?
8. A oedd yn fwy priodol i berson y Mab gymeryd y natur ddynol na'r un o'r personau eraill?

Yn drydydd, gyda golwg ar y natur ddynol: yr hwn a renir eto yn dair rhan; yn gyntaf, Gyda golwg ar y natur ddynol ei hun; yn ail, Gyda

golwg ar ranau y natur ddynol; yn drydydd, Gyda golwg ar drefn yr ymgnawdoliad.

Yn gyntaf, Gyda golwg ar y natur ddynol ei hun.

1. A oedd y natur ddynol yn fwy cyfaddas i'w chymeryd nag unrhyw natur arall?
2. A gymerodd Mab Duw berson i undeb ag ef ei hun?
3. A gymerwyd dyn i undeb â'r person dwyfol?
4. A oedd yn angenrheidiol i'r Mab gymeryd y natur ddynol ar wahan oddiwrth bob personau unigol?
5. A oedd yn angenrheidiol iddo gymeryd y natur ddynol yn mhob person unigol?
6. A oedd yn angenrheidiol iddo gymeryd y natur ddynol o Adda fel gwreiddyn y ddynoliaeth?

Yn ail, Gyda golwg ar ranau y natur ddynol.

1. A oedd yn angenrheidiol i Fab Duw gymeryd gwir gorff?
2. A oedd yn angenrheidiol iddo gymeryd corff o gig a gwaed?
3. A gymerodd efe enaid i undeb ag ef ei hun?
4. A oedd yn anghenrheidiol fod ganddo ddeall dynol?

Yn drydydd, Gyda golwg ar drefn yr ymgnawdoliad.

1. A gymerodd y Mab gorff i undeb ag ef ei hun trwy gyfrwng yr enaid?
2. A gymerodd efe enaid trwy gyfrwng yr ysbryd, neu y meddwl?
3. A gymerodd efe enaid i undeb ag ef ei hun o flaen y corff?
4. A gymerodd efe y corff cyn ei uno â'r enaid?
5. A gymerodd efe yr oll o'r natur ddynol trwy gyfrwng ei rhanau?
6. A gymerodd efe y natur ddynol trwy gyfrwng gras.

Ond ni fyddai yn iawn i ni adael y llyfr hwn heb ddangos yn fyr beth oedd barn Aquinas am *Waith* Crist, gan mai mewn cysylltiad â'r pwnc hwn yr ydym yn cael golwg ar ansawdd neillduol Duwinyddiaeth y Canoloesoedd. Wrth ymdrin am Ddyoddefaint Crist ar ol sylwi fod yn angenrheidiol i Grist ddyoddef, y mae yn profi fod ei ddyoddefaint ef yn gweithredu iachawdwriaeth i ni; 1, Fel yr oedd yn haeddiant; 2, Fel yr oedd yn Iawn; 3, Fel yr oedd yn aberth; 4, Fel yr oedd yn bryniad; 5, Mewn ffordd o effeithiolrwydd. Ond cyfiawn yw ychwanegu, yr hyn nid yw haneswyr eglwysig yn son am dano, ei fod ef yn gwahaniaethu rhwng cyfiawnder personol a chyfiawnder cyhoeddus; ac yn dal nad oedd cyfiawnder hanfodol y natur ddwyfol yn galw am Iawn. Yn yr ystyr yma, fel mewn llawer ystyr arall, nid yw ei olygiadau mewn un modd

mor eglur â'r eiddo Anselm. Er hyny, y mae yn gwneuthur yr un defnydd o'r gair *satisfactio* yn ei berthynas â chyfiawnder dwyfol.

Dyma ychydig allan o lawer fel anghraifft i ddangos pa fath yw ansawdd yr ymchwiliadau y cyfarfyddir â hwynt yn y gwaith mawr hwn—mawr yn mhob ystyr i'r gair. Bernid ei fod yn galw am sylw arbenig am ei fod yn Gorff o Dduwinyddiaeth, y cyntaf sydd yn deilwng o'r enw, ac mewn rhyw ystyr yn un o'r rhai galluoccaf a ysgrifenwyd erioed. Er hyny y mae yn rhaid addef fod y gorfanylwch a'r cywreinrwydd diddiwedd a welir ynddo yn arwyddion sicr o adfeiliad. Y maent yn dangos fod duwinyddiaeth erbyn hyn wedi dechreu syrthio o fyd y gwirioneddau ysbrydol, lle nad oes dim ond yr hyn sydd yn rhy fawr i'w fesur yn ymagor o flaen y meddwl, i fyd y deall a'r dychymyg, lle nad oes dim yn cael derbyniad ond yr hyn y gellir ei ranu a'i amgyffred. Pan y mae meddwl dyn yn gryf, nid yw yn gallu ymhyfrydu mewn ymchwiliadau dibwys a diamcan. Felly y mae natur yr efrydiaethau duwinyddol yn yr oes yr oedd Aquinas yn byw ynddi yn profi fod yr Eglwys Gristionogol yn dechreu heneiddio; ac yr oedd yr arwyddion hyn o henaint yn dyfod yn fwy amlwg y naill oes ar ol y llall nes y rhoddwyd bywyd newydd ynddi trwy y diwygiad Protestanaidd.

Y mae eraill yn haeddu eu rhestru yn mysg duwinyddion y canoloesoedd; yn enwedig Bernard, un o'r rhai dysglaeriaf o ran cymeriad yn holl hanes yr eglwys. Ond gadewir ef hyd y bennod nesaf, gan ei fod yn perthyn yn fwy neillduol i ddosbarth yr Awdwyr Cyfriniol, y rhai, er iddynt wneuthur lles mawr i dduwinyddiaeth, a wnaethant hyny trwy eu hysbryd crefyddol, yn fwy na'u golygiadau athrawiaethol. Ond ni ddylid gorphen y bennod hon heb gyfeirio at ddau y mae gan Loegr hawl neillduol i ymffrostio ynddynt. Y ddau hyny yw Bradwardine a Wickliff. Bu y ddau yn amddiffynwyr egnïol i athrawiaeth gras yn y bedwaredd-ganrif-ar-ddeg yn erbyn y cyfeiliornadau oeddynt wedi ymdaenu, ac yn parhau i ennill tir yn yr Eglwys Babaidd. Yn ei ragymadrodd i'w draethawd, "Am achos Duw yn erbyn Pelagius," y mae Bradwardine yn dweyd fod y lluaws yn dadleu dros ewyllys rydd yn erbyn rhad ras, ac yn erbyn yr apostol Paul, fel yr oedd prophwydi Baal gynt yn gwrthwynebu prophwyd y gwir Dduw. Ei amcan ef yw profi mai Duw yw yr achos o bob daioni, ac mai i'w ras penarglwyddiaethol Ef yn unig y mae y saint yn ddyledus am eu cawdedigaeth. Nid yw wedi bod yn ddigon gofalus i ddangos nad yw Duw yn achos o ddim ond daioni, ac nad yw dyn yn meddu un esgus am ei bechod, nac i fod yn segur a diffrwyth gyda golwg

ar ei ddyledswydd. Er hyny yr oedd yn un o'r ysgrifenwyr cadarnaf o blaid rhyw ranau o'r gwirionedd, a'r rhanau hyny yn ddiau y rhai mwyaf pwysig; ac nid yw yn ymddangos fod llawer o gamsyniad yn perthyn i'w olygiadau ond yr hyn oedd yn tarddu o ddiffyg. Yr un peth a ellir ei ddywedyd am Wickliff, yr hwn yn ei "Trialogus," a'i ysgrifeniadau eraill, sydd yn dangos ei fod wedi treiddio yn lled ddwfn i athroniaeth a duwinyddiaeth. Y mae ganddo rai syniadau ardderchog am natur drychfeddyliau, ac ynddynt hwy y mae yn gweled prawf o arfaeth Duw. Ond y mae yntau yn gwneuthur Duw yn achos o bob peth, yn achos o gosp pechod, ond nid yn achos o bechod, gan nad yw pechod ond rhywbeth nacâol, am yr hwn nis gellir dywedyd ei fod wedi ei greu. Yn ol ei farn ef yr oedd Duw yn rhagwybod y drwg trwy gyfrwng y da, sef y da yn ei ddrychfeddyliau ef ei hun y rhai y mae y drwg yn groes iddynt, fel yr ydym ni yn adnabod y tywyllwch trwy gyfrwng y goleuni. Ond er fod Wickliff yn deilwng o sylw fel duwinydd, mae yn hysbys mai trwy wrthwynebu llygredigaethau ymarferol yr Eglwys Babaidd, a thrwy gyfieithu yr Ysgrythyrau i iaith y bobl, y llwyddodd i wneuthur mwyaf o ddaioni, a'i fod fel y cyfryw yn seren foreu y Diwygiad.

---

## PENNOD XI.

## AWDWYR CYFRINIOL Y CANOLOESOEDD.

Y MAE cymaint o amrywiaeth i'w ganfod yn mysg yr Awdwyr Cyfriniol fel nad yw yn hawdd eu dwyn oll o fewn terfynau unrhyw ddesgrifiad cyffredinol, yn y fath fodd ag i ddywedyd mewn ychydig eiriau pa beth sydd yn cyfansoddi y tebygolrwydd hwnw rhyngddynt, ag sydd yn eu huno â'u gilydd, ac yn eu gwahaniaethu oddiwrth eraill; ac hyd nes y gwelom hyn, nis gallwn ffurfio un syniad cywir am natur eu dysgeidiaeth. Efallai mai y ffordd rwyddaf at gyrhaedd yr amcan hwn yw ymofyn pa beth sydd yn hynodi yr awdwyr hyny sydd yn fwyaf gwrthwynebol iddynt, gan y bydd y naill trwy y cyferbyniad yn taflu goleu ar y llall. Wrth sylwi ar wahanol ysgrifenwyr yr ydym yn cael fod rhai yn hollol dan lywodraeth y deall, ac o ganlyniad yn dirmygu pob dywediad sydd yn arwyddo fod dirgelwch mewn crefydd. Prin y gellid tybied fod ganddynt unrhyw gynneddf arall heblaw deall, oddieithr i rywun ammheu cywirdeb eu hymresymiadau, pryd y dangosant yn ebrwydd fod ganddynt hwythau deimladau fel eraill. Ond yn y cyffredin y maent yn ysgrifenu am y

materion mwyaf pwysig sydd yn perthyn i ddyn yn yr un ysbryd a phe buasent yn ysgrifenu am ddeddfau amser a lle, neu am natur y creigiau sydd dan eu traed. Dyma un eithafnod; a'r llall, yr hwn sydd yn gyferbyniol iddo, yw yr eithafnod cyfriniol, i'r hwn y mae y rhai hyny yn perthyn ag sydd yn dibrisio y deall, ac yn ceisio rhyddhau eu hunain o'i gadwynau, er mwyn dyfod i adnabyddiaeth o'r gwirionedd mewn rhyw ffordd yn ddigyfrwng. Fel y dywed Kant, Y maent yn tybied y medrent ehedeg yn gyflymach pe diddymid yr awyr y maent yn ehedeg ynddi, heb ystyried mai yr hyn sydd i ryw raddau yn eu rhwystro yw yr hyn sydd hefyd yn eu cynnal, ac mai effaith symudiad y rhwystr fyddai iddynt syrthio i'r llawr o anghenrheidrwydd.

Y mae yr un gwahaniaeth i'w weled mewn achosion cyffredin. Gyda phob gwaith y ffordd sicraf i lwyddo ydyw trwy uno natur a chelfyddyd; ond nid anfynych y maent yn cael eu hysgaru, y naill yn cael ei dyrchafu ar draul anmharchu y llall. Y mae rhai yn rhoddi y fath barch i reolau nes y maent yn myned o'r diwedd yn gaethweision iddynt. Y gofyniad ganddynt hwy am bob peth ydyw, nid i ba raddau y mae yn gywir neu yn brydferth, ond a ydyw yn ateb i'r rheolau. Nid oes un syniad uwch na hyn yn dyfod i'r golwg mewn rhan fawr o feirniadaeth yr oesoedd diweddaraf; ac nid yw yn rhyfedd gan hyny fod llawer yn tybied fod dysgu y rheolau yn ddigon i wneuthur dyn yn feistr ar y gwaith, fod dysgu rheolau barddoniaeth yn ei wneuthur yn fardd, fod dysgu rheolau areithyddiaeth yn ei wneuthur yn areithiwr, fod dysgu rheolau grammadeg yn ei gymhwyso i fod yn awdwr. I'r dosbarth hwn y perthyn yr athronwyr hyny sydd yn eu cyfundraeth yn ceisio cyfyngu y meddwl o fewn cadwynau y deall, fel pe na byddai enaid dyn yn ddim amgen na pheiriant, neu fel pe byddai y byd ysbrydol yn haws ei ddesgrifio a'i esbonio na'r byd naturiol. A pha le bynag y trown ein golwg, yr ydym yn canfod tuedd gyffredinol i ddarostwng pob peth dan lywodraeth deddfau a rheolau, heb un ystyriaeth fod pob bywyd a bôd yn llawn dirgelwch, fod natur yn gryfach na chelfyddyd, a bod rhyw gyflawnder o allu gwreiddiol, cyfriniol, mewn dyn, nas gellir rhoddi cyfrif am dano, oddieithr trwy ei olrhain yn ol i ewyllys ddoeth ddiderfyn y Creawdwr. Fel y dywed un o brif-feirdd y Cymry;

> "Natur a wnaeth, iawn ytyw,
> Ei rhan ar bob anian byw."

Ond o'r tu arall, y mae natur, er mor gyfoethog ydyw, yn sefyll mewn anghen parhaus am wasanaeth celfyddyd; ac yr ydym yn gweled dynion

yn cyfarfod â siomedigaethau chwerwon trwy ddibrisio addysg a llafur, ac ymddiried yn hollol i'r hyn a dybiant hwy yn athrylith wreiddiol. O undeb a chydfynediad natur a chelfyddyd y mae llwyddiant yn tarddu; a thra y cadwom o fewn y terfynau hyn gellir dysgwyl cynnydd yn ddi-ddiwedd. Felly mewn duwinyddiaeth, y mae yr awdwyr goreu yn mhob oes yn uno y ddwy egwyddor; yn chwilio hyd y gallont dan gyfarwyddyd rheol a threfn i'r gwirioneddau a gynnwysir yn y Dadguddiad Dwyfol, ac ar yr un pryd yn teimlo fod geiriau Crist yn ysbryd a bywyd, ac am hyny fod ynddynt ddirgeledigaethau i'w credu a'u teimlo, ac nid i'w hamgyffred. Y mae natur yn dangos ei hun yn eu holl ysgrifeniadau trwy beri iddynt roddi lle i'r elfen gyfriniol, er fod yr elfen hono yn cael ei chadw o fewn terfynau priodol, ac yn gweithredu yn rheolaidd mewn cysylltiad â barn ddiwylliedig. Ond y mae tuedd mewn celfyddyd, yr hon duedd sydd o hyd yn ennill nerth os gadewir iddi weithredu, i wrthryfela, yn erbyn natur, ac i gymeryd ei gogoniant ei hun yn ddyben blaenaf. Y mae hyn i'w ganfod yn lled gyffredin yn ysgrifenwyr y canoloesoedd, yn enwedig y rhai diweddaraf o honynt. Y maent yn myned o hyd yn llai naturiol, ac yn fwy sychlyd feirniadol, nes y maent o'r diwedd, trwy golli natur, yn colli eu hunain mewn dadleuon ynghylch geiriau, a mân ymchwiliadau diamcan a gorfanylaidd. Yn lle cymeryd eu dysgeidiaeth o ffynnonell ddihysbydd natur, hyny ydyw o Dduw natur trwy gyfrwng y dadguddiad a roddodd o hono ei hun yn y Bïbl, y maent yn dilyn eu gilydd, ac oll gyda'u gilydd yn dilyn Aristotle ac Augustine, a thrwy hyny yn nychu pob bywyd dan faich o ffurfioldeb. Yn ngwyneb yr eithafion hyn y mae natur yn amddiffyn ei hawliau, ac yn mynu ei ffordd trwy bob rhwystrau: ond trwy gael ei dadgysylltu oddiwrth farn a threfn, y mae yn rhy debyg i agerdd mewn llong heb un llyw, yn allu afreolaidd yr hwn nis gellir dysgwyl dim oddiwrtho yn amgen na dinystr. Dyma yr effaith a welir pan fyddo dynion, fel y mae llawer wedi bod ar wahanol amserau, yn ymwrthod â phob cynnorthwy allanol i fyw yn gref-yddol, yn dibrisio moddion gras ac ordinhadau yr efengyl, yn gosod i fynu y llais oddifewn yn wrthwynebol i lais Duw yn ei Air, yn dychy-mygu am Grist ynddynt heb ffydd yn y Crist hwnw y ceir hanes am dano yn y Bïbl, nes o'r diwedd y maent, wrth son am golli eu hunain yn Nuw, yn ceisio gwneuthur ei hunain yn Dduwiau.

Er hyny, y mae bywyd yn ei afreoleiddiwch mwyaf yn well na marwol-aeth. Ond nid oes un achos paham y rhaid i fywyd fod yn afreolaidd; ac yn gyffelyb, nid oes un angenrheidrwydd i'r cyfriniol fod yn ddiffygiol

o drefn, nac i ninnau gyfyngu ein sylw at yr eithafion wrth son am dano. Yn nesaf at y ddyledswydd o wylied rhag cael ein camarwain gan rai sydd yn rhagfarnllyd yn erbyn unrhyw blaid, dylem ofalu na fyddom yn ffurfio ein barn oddiwrth ddywediadau eithafol rhyw ychydig bersonau a fyddo yn perthyn i'r blaid hono. Nid oes un gwirionedd nas gellir ei droi yn ffolineb, os gwneir ef yn gyfrifol am yr holl gamsyniadau a gysylllir âg ef gan rai o'i bleidwyr, ac y dadleuir drostynt fel canlyniadau sydd yn ymddangos iddynt hwy yn tarddu o hono: ac nid oes dim wedi cael mwy o gam yn y ffordd hon, oddiwrth amddiffynwyr a gwrthwynebwyr, nâ'r rhan gyfriniol o grefydd, yr hyn sydd wedi peri fod y cyffredin o'r rhai mwyaf anmhleidgar yn edrych ar bob tuedd o'r fath fel penboethni neu wallgofrwydd crefyddol. Hyd yn nod yn "*Vaughan's Hours with the Mystics*," llyfr tra galluog, yr hwn nis gellir ei ddarllen heb alaru wrth feddwl fod angau wedi cymeryd ymaith un mor obeithiol yn moreu ei ddyddiau, y mae yn hawdd gweled fod yr awdwr yn edrych i lawr ar y dynion y mae yn son am danynt, fel rhai i dosturio wrthynt; nad yw ei feddwl ef ond anfynych yn dyfod i gyffyrddiad â'u meddyliau hwy, a'i fod, oblegid hyny, yn aflwyddiannus i ganfod mwy na rhanau allanol y gwirionedd sydd yn gorwedd dan y cyfeiliornadau y mae rhai o honynt ar amserau wedi syrthio iddynt. Y mae Nitzsch, mewn adran o'i waith ar yr "Athrawiaeth Gristionogol," yn cymeryd golwg ëangach a thecach: a chan ei fod ef yn un sydd yn llefaru gydag awdurdod, efallai mai doethineb fyddai benthyca ei eiriau. Yn mhlith amryw sylwadau eraill y mae yn dywedyd fel y canlyn: "Y mae gallu bywiol tufewnol crefydd bob amser yn gyfriniol; ac y mae y gwirioneddau Cristionogol am oleuni ysbrydol, am ddadguddiad, ymgnawdoliad, ailenedigaeth, am y sacrament, ac am yr adgyfodiad, yn elfenau hanfodol gyfriniol. Pa bryd bynag y mae bywyd crefyddol, neu eglwysig, yn ymryddhau oddiwrth syniad allanol ac ysgolyddiaeth ddiffrwyth, ac yn adnewyddu ei nerth allan o'i ffynhonau pur ei hun, ac yn cyfeirio ei hun at ei wir ddyben, yna y mae yn ymddangos yn fwy-fwy cyfriniol, ac yn rhoddi achlysur i'r achwyniad fod cyfriniolaeth yn ennill goruchafiaeth."

Yr oedd hyd yn nod y crefyddau paganaidd, yn ol graddau y dyfnder oedd ynddynt, yn cynnwys rhyw gymaint o'r elfen gyfriniol; oblegid y mae a fyno pob crefydd â rhyw Fôd anweledig, yr hwn y mae y meddwl dynol yn mhob oes yn teimlo fod angen am adnabyddiaeth uwch o hono nag a ellir ei gyrhaedd trwy ymresymiad yn unig, a chymundeb agosach ag ef na chymundeb deallol neu foesol. Os awn yn ol i'r oesoedd boreuaf

y mae genym hanes am danynt yn llênyddiaeth India, yr ydym yn cael mai dymuniad penaf yr Hindŵ oedd codi ei hunan (*âtman*) i undeb â'r tragywyddol Hunan (*paramâtman*); a'i fod yn ceisio adnabod ei hunan meidrol yn yr Hunan anfeidrol. Nid oeddynt yn caru cyfoeth na pherthynasau er mwyn y gwrthddrychau eu hunain ond am eu bod yn caru yr Ysbryd Dwyfol ynddynt. Megys nas gallwn gael gafael yn y swn a wneir gan offeryn cerdd oddi eithr trwy gael gafael yn yr offeryn ei hun, felly yr oeddynt hwy yn ystyried nas gellir mwynhau nac adnabod y greadigaeth oddieithr yn y Creawdwr. Pan fyddom yn myned i'r Ysbryd Dwyfol, yr ydym yn debyg i halen yn cael ei daflu i'r môr, yr hwn sydd yn diflanu yn y dwfr o'r hwn y daeth, ac nis gellir ei gymeryd allan drachefn.* Nid oedd hyn yn ddigon gan Buddha, yr hwn a gododd fel diwygiwr yn yr India tua mil o flynyddoedd cyn Crist yn ol tystiolaeth y Chineaid, ond tua phum' cant yn ol y gred a dderbynir yn Ceylon, a'r hwn y mae ei grefydd, er wedi ei hymlid yn llwyr o'r India, yn cael ei phroffesu yn Ceylon, yr ymerodraethau Burmanaidd a Chineaidd, a'r gwledydd cymydogaethol, gan fwy na thri chant o filiynau o ddynion. Yn lle gorphwys yn y dysgwyliad am golli y meidrol yn yr anfeidrol, yr oedd efe yn dysgu ei ganlynwyr i ehedeg yn uwch mewn hunanymwadiad, ac i awyddu am dragywyddol ddiddymiad. Y mae yr un duedd, ond heb ddirywio i'r un eithafion, yn rhedeg trwy ddaliadau crefyddol y Groegiaid cyntefig, fel y gellir casglu oddiwrth yr ychydig o weddillion yr hen amser a geir mewn cysylltiad a llawer o ychwanegiadau diweddar yn y cyfansoddiadau Orphaidd; ac yn dyfod yn fwy eglur yn y gyfundraeth gymysg o athroniaeth a chrefydd a osodwyd i fynu gan y Platoniaid newydd yn Alecsandria. Yr oedd Plotinus yn dal nas gallesid dyfod at Dduw trwy ddeall neu wybodaeth, ond trwy olwg ysbrydol; fod y Da, neu y Bôd annibynol yn edrych arno ei hun trwy gyfrwng ein hysbrydoedd ni; mai dyben uchaf ein holl ymdrechion ysbrydol yw codi ein hunain at yr hanfod pur, a chymeryd noddfa yn y diammodol, trwy gau allan bob peth amserol a chyfnewidiol; mai y diammodol a'r da yw yr achos dechreuol o'r ysbryd, ac o'r drychfeddwl sylfaenol am fodolaeth; ac fel hyn fod y diammodol yn dangos ei hun yn hanfodol syml, yr *un* diammodol; yr hwn, oblegid hyny, nis gellir ei ddesgrifio, ac nis gellir ei gyrhaedd ond yn unig trwy roddi yr enaid i fynu iddo.†

Y mae pob tuedd gyfriniol, fel y gwelir hyd yn nod mewn crefyddau paganaidd, yn ymgeisio am ryw gymundeb agosach â Duw nag a ellir ei gyr-

* *Max Müller's History of Ancient Sanskrit Literature.* † *Smith's Dictionary of Biography.*

haedd trwy gyfrwng y deall yn unig; ond priodoledd neillduol y duedd hono pan ddygir hi dan lywodraeth y Bïbl i gysylltiad ag ysbryd y grefydd Gristionogol, ydyw ymofyn am gymundeb goruwchnaturiol â Duw yn, a thrwy, yr Arglwydd Iesu Grist. Y mae hyn yn nodwedd sydd yn perthyn mewn rhyw radd i'r holl Awdwyr Cristionogol sydd yn credu fod mwy mewn undeb â Christ, ac mewn cymundeb â Duw, na cheisio deall a chofio yr hyn a ddywedir am Grist, ac am Dduw, yn y Bïbl. Ond os ydyw hyn yn perthyn i'r holl Awdwyr Cristionogol sydd yn dangos tuedd gyfriniol, yna gellir gofyn, Pa beth sydd yn perthyn yn neillduol i Awdwyr Cyfriniol y Canoloesoedd? Er mwyn ateb y gofyniad hwn, y mae yn anghenrheidiol i ni alw i gof pa olygiadau neillduol sydd yn hynodi duwinyddiaeth y canoloesoedd. Dangoswyd eisoes mai yr hyn a ddygwyd i oleuni arbenig yn y canoloesoedd, fel pwnc o athrawiaeth, oedd meddwl ac ystyr gwaith Crist. Daeth yr eglwys i weled yn oleuach nag o'r blaen fod y gwaith a wnaeth Crist ar y ddaear yn Iawn i Dduw. Ond heblaw eglurhau gwaith Crist yn ei berthynas â Duw, yr oedd anghen am oleuni arno yn ei berthynas â dynion; a dyma y prif wasanaeth a gyflawnodd yr Awdwyr Cyfriniol yn y cyfnod hwnw. Profwyd gan Anselm fod gwaith Crist yn Iawn fel yr oedd yn dwyn perthynas â chyfiawnder dwyfol, ac yr oeddynt hwythau drachefn yn cyfeirio sylw at y gwirionedd fod undeb yn angenrheidiol rhwng Crist a ni cyn y gallai Crist yn yr hyn a wnaeth fod yn Iawn drosom ni. Arferent roddi pwys mawr ar y dywediad ein bod wedi marw yn ei farwolaeth Ef, ac wedi adgyfodi yn ei adgyfodiad Ef. Nid oeddynt yn gofalu llawer am wahaniaethu rhwng ein marwolaeth rinweddol yn mherson Crist pan y bu Efe farw, a'n marwolaeth weithredol yn ein personau ein hunain: ac yn hyn nid oeddynt yn anhebyg i'r Apostol Paul; oblegid nis gall neb ddarllen ei epistolau ef yn fanwl heb ganfod ei fod ef yn edrych ar y cwbl fel un ffaith. Yr oeddynt yn gweled fod yma ddwy farwolaeth wirioneddol, sef marwolaeth Crist a marwolaeth y Cristion; ond yn eu golwg hwy, megis yn ngolwg yr Apostol, yr oedd yr undeb rhwng Crist a'r Cristion yn gwneuthur y ddwy yn un. Fel hyn yr oeddynt yn parotoi y ffordd i'r amlygiad o athrawiaeth fawr cyfiawnhad trwy ffydd; oblegid heb yr undeb dirgeledig hwn ni fuasai ffydd ond gair heb sylwedd, ac nis gallasai dyn gael ei gyfiawnhau trwy ffydd mwy na thrwy weithredoedd. Ond os cydnabyddir fod undeb ysbrydol, gwirioneddol, rhwng y credinwyr â Christ, bydd ffydd yn rhywbeth mwy na gweithred y deall; a bydd cyfiawnhad yn rhywbeth mwy na phwnc sychlyd a difywyd. Bydd yr athrawiaeth yn llawn o ddirgelwch, a bydd y dirgelwch

hwnw yn llawn o ystyr. Ac efallai na fyddai yn ormod dweyd mai mawredd yr ystyr fydd yn achosi y dirgelwch.

Nid oes neb wedi dangos y duedd gyfriniol yn fwy rhydd oddiwrth bob eithafion na Bernard, yr hwn a anwyd o rïeni crefyddol yn Burgundy yn y flwyddyn 1091. Rhagorodd ar bawb yn ei oes, yn ol mesur y wybodaeth oedd ganddo, mewn llwyr ymroddiad a gweithgarwch. Gwelir hefyd yn ei hanes ef, yr hyn sydd yn wir am y dynion blaenaf yn mhob cyfnod, fod y gweithgarwch mwyaf egnïol a'r teimlad dyfnaf yn cydgyfarfod. Yn ei amser ef yr oedd duwinyddiaeth trwy ysgrifeniadau Abelard ac eraill yn dechreu gwyro i ryw fath o ysgolyddiaeth gelfyddydol a sychfeirniadol; ond yr oedd Bernard yn teimlo ei hun, ac yn ymdrechu dangos i eraill, mai nid pentwr o esgyrn sychion oedd pynciau crefydd. Pa beth oedd ei olygiadau ef a ymddengys oddiwrth y dyfyniad a ganlyn o un o'i lythyrau fel y rhoddir ef gan Milner.

"Dyn gan hyny a ddarostyngwyd i gaethiwed yn gyfiawn, ond a ryddhawyd mewn trugaredd: yn y fath fodd mewn trugaredd, er hyny, fel yr oedd cyfiawnder yn ymddangos hyd yn nod yn ei ryddhad.—Oblegid pa beth a allasai dyn wneuthur o hono ei hun i ennill yn ol y cyfiawnder a gollasai, gan ei fod yn awr yn gaethwas i'r diafol? Y mae cyfiawnder un arall gan hyny yn cael ei roddi iddo ef, yr hwn oedd wedi colli yr eiddo ei hun. Tywysog y byd hwn a ddaeth, ac ni chafodd ddim yn Nghrist; a phan aeth efe i ymaflyd yn y dieuog, efe a gollodd yn gyfiawn y caethion oedd ganddo yn ei feddiant: ac Efe, yr hwn nid oedd gan angau un hawl gyfiawn ynddo, gan ddioddef poenau angau, trwy ei ufudd-dod gwirfoddol a ryddhâodd yn gyfiawn yr hwn oedd yn gyfreithlawn yn rhwym, oddiwrth angau ac oddiwrth arglwyddiaeth y diafol. Dyn oedd y dyledwr: dyn hefyd a dalodd y ddyled. Oblegid os bu un farw dros bawb, yna meirw oedd pawb, fel y byddai i haeddiant un gael ei gyfrif i bawb, gan ei fod ef ei hun wedi dwyn pechodau pawb: ac yn awr, yr hwn a droseddodd, a'r hwn a wnaeth iawn i gyfiawnder dwyfol, ydynt yr un; oblegid y pen a'r aelodau ydynt un Crist. Y pen gan hyny a wnaeth iawn dros yr aelodau, Crist dros ei ymysgaroedd ei hun; oblegid, yn ol efengyl St. Paul, yr hon sydd yn gwrthbrofi cyfeiliornad Abelard, y mae Duw wedi ein cydfywhau ni gydag ef, yr hwn a fu farw drosom, gan faddeu i ni yr holl gamweddau, gan ddileu ysgrifen-law yr ordinadau, gan ei hoelio wrth y groes, gan yspeilio y tywysogaethau a'r awdurdodau. Caffer fi yn mysg yr yspail y mae yr awdurdodau gelyniaethol yn cael eu hyspeilio o hono.——Os dywedir wrthyf, dy dad a'th wnaeth yn gaeth, yr wyf yn ateb, fy mrawd

a'm prynodd. Paham na allaf gael cyfiawnder un arall yn gyfrifedig, gan fod pechod un arall wedi ei gyfrif i mi?—A oes pechod yn hâd y pechadur, a dim cyfiawnder yn ngwaed Crist?—Megis yn Adda y mae pawb yn meirw, felly yn Nghrist y bywheir pawb.—Y mae y camwedd wedi ymaflyd ynof mewn gwirionedd, ond y mae gras hefyd wedi ymweled â mi.—Os yw y farn o un i gondemniad, y mae y dawn o gamweddau lawer i gyfiawnhad. Wedi fy ngwaredu fel hyn o allu y tywyllwch, nid wyf 'yn ofni cael fy ngwrthod gan Dad y goleuni, gan fy mod wedi fy nghyfiawnhau yn rhad trwy waed ei Fab ef. Yr hwn a dosturiodd wrth y pechadur ni chondemnia y cyfiawn. Yr wyf yn galw fy hun yn gyfiawn, ond trwy ei gyfiawnder Ef: oblegid Crist yw diwedd y ddeddf er cyfiawnder, ac y mae wedi ei wneuthur i ni gan Dduw yn gyfiawnder.—Fel hyn y mae dyn yn cael ei wneuthur yn gyfiawn trwy waed y Gwaredwr; er fod Abelard, mab y golledigaeth, yn tybied mai unig ddyben ei ddyfodiad oedd rhoddi i ni reolau da i fyw wrthynt, a siampl o ddyoddefgarwch a chariad. Ai hyn, gan hyny, yw y cwbl o ddirgelwch mawr duwioldeb, yr hwn y gall unrhyw ddyn dienwaededig ac aflan yn hawdd ei ddeall. Pa beth sydd yn hyn uwchlaw goleuni cyffredin natur? Ond nid felly y mae; "oblegid y dyn anianol nid yw yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw." Gellir dadleu nad yw desgrifiad Bernard yn y brawddegau olaf hyn yn hollol deg, gan fod Abelard yn ystyried fod Crist, nid yn unig wedi rhoddi siampl, ond wedi agor ffordd i faddeuant trwy ei farwolaeth. Ond wrth chwilio i gyfundraeth Abelard y mae yn anhawdd gweled pa beth sydd ynddi yn ychwaneg na siampl, gan ei bod yn gwneuthur holl hanfod yr Iawn yn gynnwysedig mewn argraff foesol ar feddwl dyn.

Nid oedd Bernard yn diystyru y deall: i'r gwyrthwyneb, yr oedd yn gosod y deall yn uwch na ffydd, ond wrth y deall yn yr ystyr yma yr oedd efe yn meddwl y gallu hwnw trwy yr hwn y mae dyn, ar ol credu fod Duw, yn myned ymlaen i'w weled a'i adnabod. Yr oedd yn rhanu y galluoedd yn dair rhan, sef tyb, ffydd, a deall, (*opinio*, *fides*, *intellectus*). Y mae tyb yn pwyso ar y tebyg, ffydd ar awdurdod, ond y mae goleuni deallol yn tarddu o wybodaeth resymol. Y mae ffydd mor sicr â gwybodaeth ddeallol: yr unig wahaniaeth rhyngddynt ydyw, fod yr olaf yn dwyn gydag ef fwy o eglurdeb na ffydd. Ond yn ngwlad y teimlad yr oedd Bernard yn fwyaf cartrefol; ac yr oedd ei dueddfryd gyfriniol yn peri iddo gymeryd golwg uwch a helaethach na chyffredin ar natur cariad crefyddol. Ar y mater hwn y mae yn dywedyd: "Nid heb wobr y mae

Duw yn cael ei garu, er y dylid ei garu heb un olwg ar y wobr. Y mae gwir gariad yn meddu digon ynddo ei hun; y mae ganddo wobr: ond nid yw y wobr ddim yn amgen na'r gwrthddrych ei hun, yr hwn a gerir." Ond yn nadblygiad cynnyddol cariad y mae yn canfod pedwar o raddau. Y gradd isaf ydyw hwnw pan y mae dyn yn caru Duw oddiar hunan-gariad yn unig. Y mae hyn yn ei arwain at yr ail radd, yn yr hwn y mae yn caru Duw oherwydd yr amlygiad a'r profiad a gafodd o'i ddaioni. Trwy ei garu felly yr ydym yn raddol yn cyrhaedd y trydydd gradd, yr hwn sydd yn cynnwys cariad at Dduw, nid yn unig oblegid yr amlygiad o'i ddaioni, ond yn hollol er ei fwyn ef ei hun. Yn y gradd hwn yr ydym yn ei garu ef fel y mae efe yn ein caru ni, ac yr ydym yn ceisio, nid yr eiddom ein hunain, ond yr eiddo Crist, fel y ceisiodd efe ein lles ni, ac nid ei les ei hun. Y mae hyn yn arwain at y pedwerydd gradd, pan y mae dyn yn caru ei hun er mwyn Duw. "Gwynfydedig a sanctaidd," meddai Bernard, "y galwaf y dyn hwnw y caniatêir iddo brofi rhywbeth o'r natur yma yn y bywyd marwol hwn, er yn anfynych, yn achlysurol, neu hyd yn nôd am unwaith, a hyny am foment yn unig; oblegid colli dy hun yn y modd hwn ydyw cymundeb nefol, ac nid teimlad yn null cyffredin dyn. Fel y mae gogoniant Duw yn ddyben yr holl greadigaeth, felly y pwynt y mae pob cynnydd mewn crefydd yn ymgyrhaedd ato ydyw gwneuthur pob peth er mwyn Duw yn unig. Y dwfn-deimlad hwn o eiddo yr enaid, a llefaru yn briodol, yw cyfnewidiad i ddelw Duw; ond yma isod nis gall dyn gynnal ei hun ond am ychydig fomentau yn yr uchelderau hyn."

Ar y pwnc hwn, gan fod iddo le mawr yn ysgrifeniadau yr Awdwyr Cyfrinol, y mae sylwadau Hugo, o St. Victor, yn werth eu cofnodi. Ar ol dangos fod cariad at Dduw yn sicrhau meddiant o hono, a'i fod bob amser yn bresennol i gariad, y mae yn dywedyd: "Ond, efallai, os ceri, ac os gwasanaethi Dduw, gyda golwg ar dderbyn gwobr oddiwrtho, dy fod trwy hyny yn myned yn wasaidd. Fel y dywed rhyw ddynion ffol, y rhai ydynt mor ffol fel nad ydynt yn deall eu hunain. Yr ydym yn caru ac yn gwasanaethu Duw, meddant, ond nid ydym yn ceisio gwobrwy, rhag i ni fod yn wasaidd; nid ydym yn gofyn hyd yn nôd am dano ef ei hun. Efe a rydd, os rhynga bodd iddo, ond nid ydym ni yn gofyn. Yr ydym yn ei garu ef gyda chariad syml, anhunanol, mabaidd. Gwrandewch, chwi, bobl ddoeth. Yr ydym yn ei garu ef, meddant, ond nid ydym yn gofyn am dano. Hyny ydyw, yr ydym yn ei garu, ond nid ydym yn gofalu dim am dano. Ni buaswn fel dyn yn dymuno cael fy

ngharu genych chwi fel hyn. Pe buasech yn fy ngharu yn y fath fodd ag i beidio gofalu dim am danaf, ni fuaswn innau yn gofalu dim am eich cariad. Ystyriwch a ydyw yr hyn a all dyn yn gyfiawn ei ddirmygu yn werth ei gynnyg i Dduw. Y rhai sydd yn siarad fel hyn nid ydynt yn deall natur cariad: oblegid pa beth yw caru, ond ewyllysio mwynhau yr hwn yr ydym yn ei garu? Dymuniad i fwynhau, nid rhywbeth arall, ond y gwrthddrych ei hun, hyn yw cariad diragrith. Nis gelli garu os nad ydwyt yn dymuno. Pe tybit fod bywyd tragywyddol yn rhywbeth gwahanol oddiwrth y daioni mwyaf, yr hwn yw Duw, a phe gwasanaethit ef er mwyn cael hyny, ni fyddai hyn yn wasanaeth pur, nac yn gariad pur."

Aeth Richard, o St. Victor, yn mhellach yn y cyfeiriad cyfriniol na'i athraw Hugo: ac o hyn allan yr ydym yn gweled y rhwyg yn ymledu rhwng ysgolyddiaeth a'r golygiadau cyfriniol, y naill yn myned o hyd yn fwy difywyd, a'r llall yn myned yn fwy rhydd oddiwrth bob rheol, a thrwy hyny weithiau yn myned i eithafion. Tua dechreu y bedwaredd-ganrif-ar-ddeg yr oedd Henry Eckart, yn Strasburg a Cologne, yn dysgu mai Duw yw yr unig Fôd; mai y drychfeddyliau tragywyddol yw y Dwyfoldeb sydd yn bod yn mhob creadur, ac nid yw pob peth meidrol ond ymddangosiad; fod yn rhaid i'r Dwyfol yn yr enaid wahanu ei hun oddiwrth y meidrol yn ol siampl Crist, fel y gallo dyn trwy fyfyrdod am Dduw ddyfod fel Crist yn Fab Duw: fod dyn trwy ymwadu ag ef ei hun yn nghymhorth Duw, a thrwy gael ei uno â Duw, yn myned yn fwy o Dduw nag o greadur; oblegid pan y mae dyn yn cael ei ryddhau oddiwrtho ei hun gan Dduw, a phan nad yw yn ddim arall ond Duw yn unig, a phan nad yw yn byw oddieithr trwy Dduw yn unig, mae yn amlwg, medd efe, ei fod mewn gwirionedd yr un trwy ras ag ydyw Duw wrth natur, ac nad yw Duw yn cydnabod un gwahaniaeth rhyngddo ef ei hun a'r dyn hwnw. Dyma gyfriniaeth wedi myned i eithafion, nes yw yn ymylu ar yr hyn a elwir Pantheistiaeth. Yr oedd Ruysbroek, tra yn dylyn Eckart, yn deall yn well pa fath yw yr undeb rhwng dyn a Duw; ac yn dal fod Duw, yn yr undeb hwn, yn aros yn Dduw, a dyn yn aros yn ddyn. Ymroddodd Nicolas o Basle, yn hytrach i gyfriniaeth ymarferol, gan feddwl cyfodi ei hun i gymundeb digyfrwng â Duw trwy ddyoddef penydiau, ac ymneillduo yn llwyr oddiwrth bob gofalon bydol, yr hyn a effeithiodd o leiaf i roddi iddo ddylanwad nid bychan ar feddyliau ei gydoeswyr. Y mae yn ymddangos ei fod ef a Ruysbroek wedi eu harwain i gredu eu bod yn derbyn dadguddiad uniongyrchol o feddwl Duw mewn gweledigaethau.

Pa fodd bynag yr un duedd lywodraethol a welir ynddynt hwy ag yn yr holl Awdwyr Cyfriniol, sef rhyw awydd angerddol am gymundeb agos â'r Anfeidrol, er fod rhai o honynt wedi camsynied y ffordd, yn athrawiaethol ac yn ymarferol.

O bawb yn yr oes hono, y ddau sydd yn dangos y duedd gyfriniol yn ei gwedd oreu yw Tauler ac awdwr "Y Dduwinyddiaeth Germanaidd." Y mae Tauler yn egluro ei olygiadau fel y canlyn: "Y mae dyn, fel creadur, wedi deillio yn uniongyrchol oddiwrth Dduw, yr hwn sydd un, yn awyddus am ddychwelyd, yn ol ei allu, i'r undeb anwahanol drachefn. Y mae y dylifiad allan yn ymdrechu dyfod yn ddylifiad i mewn; a phan y mae pob peth ynddo wedi dyfod yn berffaith un yn, ac â Duw, y mae efe yn cael cyflawn heddwch a gorphwysfa. Y moddion i'r dyben hwn ydyw ymgodi uwchlaw synwyr a chnawdolrwydd, uwchlaw galluoedd corfforol a naturiol, uwchlaw pob dymuniadau, arwyddion, a delweddau, ac yn y rhyddid hwn oddiwrth y creaduriaid, ceisio Duw yn unig ac yn uniongyrchol, ysbryd ag ysbryd, a chalon â chalon. Nis gall y bywyd dwyfol perffaith ddyfod yn eiddom ni ond pan fyddom farw oddifewn, a phan beidiom â bod yn nyni ein hunain. Ond nis gall hyn gael ei wneuthur trwy allu natur. Y mae yn rhaid iddo gael ei wneuthur gan ras, a thrwy gyfryngdod Crist. Yr hyn sydd yn perthyn i Dduw trwy natur, a raid i ddyn ei gyrhaedd trwy ras. I'r dyben hwn y mae siampl Crist wedi ei roddi iddo. Fel y daeth Iesu oddiwrth y Tad, ac y dychwelodd at y Tad, felly rhaid i bob dyn. Fel y darfu i Grist farw marwolaeth gorfforol, a chyfodi drachefn oddiwrth y meirw, felly y mae yn rhaid i bob dyn farw yn ysbrydol ac adgyfodi, fel y byddo byw yn hollol yn, a chyda Duw. Delw Crist, er hyny, yr hon y rhaid ei hargraffu ar y galon, nid yw yn gyffelybrwydd i'r hyn sydd grëedig a gweledig, ond i'r hyn sydd oruchel, dwyfol, a rhesymol yn Mab Duw, y Duw-ddyn. Yr hwn sydd ganddo y ddelw hon yn ei galon nid yw un amser heb Dduw; a pha le bynag y mae Duw o gwbl, y mae efe yno yn gwbl."

Y llyfr arall, yr hwn a elwir "Duwinyddiaeth Germanaidd," sydd waith awdwr anhysbys: ond y mae yn llawn o athrawiaeth iachus, fel y gwelir oddiwrth y crynodeb canlynol o'r meddyliau sylfaenol, fel y rhoddir hwynt gan Ullmann. "Os yw y creadur yn cydnabod ei hun yn y daioni digyfnewid, ac fel yn un ag ef, ac yn byw a gweithredu yn y wybodaeth hon, yna y mae ei hun yn dda ac yn berffaith. Ond os gwrthgilia y creadur oddiwrth y daioni hwnw, yna y mae yn ddrwg. Y mae pob pechod yn gynnwysedig mewn gwrthgilio oddiwrth y daioni goruchaf a pherffaith,

mewn gwneuthur hunan yn wrthddrych, ac mewn tybied ei fod yn rhywbeth, a'n bod yn derbyn oddiwrtho unrhyw les, megis bôd, neu fywyd, neu wybodaeth, neu allu. Hyn a wnaeth y diafol, a thrwy hyn yn unig y syrthiodd. Ei waith yn tybied ei fod ef hefyd yn rhywbeth, a'r rhywbeth yn eiddo iddo ef, ei 'fi,' a'i 'eiddof,' ydoedd ei wrthgiliad a'i gwymp. Yn yr un modd hefyd y syrthiodd Adda. Nid bwyta yr afal oedd yr achos o'i gwymp, ond ei gais i wneuthur ei hun yn eiddo iddo ei hun. Oni buasai hyn, er iddo fwyta saith o afalau, ni fuasai yn syrthio. Oblegid hyn yr oedd yn rhaid iddo syrthio, pe na buasai yn profi yr un. Felly y mae gyda phob dyn, yr hwn y mae yr un peth yn cymeryd lle ynddo gant o weithiau. Ond yn mha fodd y gellir adferu y gwrthgiliad a'r cwymp cyffredinol hwn? Y ffordd yw, i ddyn ddyfod allan o hono ef ei hun, a myned i mewn i Dduw. I'r dyben hwn y mae yn rhaid i ddwy blaid gydsynio, Duw a dyn. Dyn nis gall ei wneuthur heb Dduw, a Duw nis gallasai ei wneuthur heb ddyn. Ac am hyny yr oedd yn angenrheidiol i Dduw gymeryd y natur ddynol, a dyfod yn ddyn, fel y byddai i ddyn ddyfod yn Dduw. Cymerodd hyn le unwaith yn y modd mwyaf perffaith yn Nghrist, ac fel y dylai pob dyn ddyfod trwy ras yr hyn oedd Crist trwy ei natur, dylai hyn gymeryd lle yn mhob dyn, ac ynof fi yn mysg eraill. Oblegid pe byddai i Dduw drigo yn mhob dyn arall, a phob dyn arall gael ei ddwyfoli ynddo ef, a hyn heb gymeryd lle ynof fi, ni fyddai fy nghwymp i yn cael ei feddyginiaethu. Yn y ffordd hon y mae Crist yn adferu yr hyn a gollwyd trwy Adda."

Daeth y llyfr hwn i law Luther mewn ysgrifen; a chyhoeddodd ef, trwy annogaeth Staupits, gyda rhagymadrodd o'i waith ei hun, yn y flwyddyn 1516. Dywed Luther, Nad yw wedi dysgu mwy pa beth yw Duw, Crist, dyn, a phob peth, oddiwrth un llyfr arall, oddiethr y Bïbl a St. Augustine. Ac felly y mae y cysylltiad rhwng y llyfr hwn a Luther yn ein harwain yn naturiol at yr athrawiaethau a ddygwyd i oleuni trwy ymdrechion y Diwygwyr Protestanaidd.

## PENNOD XII.

---

## Y DIWYGIAD PROTESTANAIDD.

CEISIWYD dangos yn y pennodau blaenorol, mai y mater cyntaf a dderbyniodd sylw cyffredinol yn yr Eglwys Gristionogol oedd, *Yr hyn ydyw Crist:* ac hefyd, fod y mater hwn wedi ei chwilio mewn dau olygiad; yn

gyntaf, yn wrthddrychol, neu yr hyn ydyw Crist ynddo ei hun, gan y Tadau Groegaidd; ac yn ail, yn dufewnol, neu yr hyn ydyw Crist yn ei berthynas â ni, gan y Tadau Lladinaidd. Yna ceisiwyd dangos mai yr ail fater oedd *Yr hyn a wnaeth Crist:* a rhanwyd hwn hefyd yn ddau; yn gyntaf, yn wrthddrychol, neu yr hyn ydyw gwaith Crist ynddo ei hun, yr hyn oedd testyn yr Ysgolwyr; ac yn ail, yn dufewnol, neu yr hyn ydyw gwaith Crist yn ei berthynas â ni, yr hyn oedd testyn yr Awdwyr Cyfriniol. Ac yn awr y mae rhediad yr hanes yn ein dwyn at y trydydd mater, sef *Effaith gwaith Crist;* yr hwn sydd yn rhanu ei hun yn ddau yn yr un modd â'r lleill; yn gyntaf, yn wrthddrychol, fel y dangoswyd ef gan y Diwygwyr Protestanaidd; ac yn ail, yn dufewnol, fel y dygwyd y mater i sylw mwy arbenig gan y Diwygwyr Methodistaidd. Ond pwnc mawr y Diwygwyr Protestanaidd, fel yr addefir yn gyffredin, oedd effaith gwaith Crist yn wrthddrychol, hyny ydyw, fel y mae yn ymddangos wrth edrych arno yn yr hyn ydyw y tu allan i'r dyn ei hun. Yn eu golygiadau ar y pwnc hwn yr oeddent hwy, ynghyd a'u holynwyr ar y Cyfandir ac yn y wlad hon, ar y cyfan yn unol â'u gilydd, pa amrywiaeth bynag oedd yn eu plith gyda golwg ar faterion eraill; a dyma y gwahaniaeth amlycaf rhwng y rhai sydd yn hoffi galw eu hunain yn Brotestanaid, a'r rhai sydd yn ochri at Babyddiaeth ar un llaw, neu at Anffyddiaeth ar y llaw arall.

Mae yn wir fod amryw wedi chwilio am ryw wirionedd arall, yr hwn y gellid ei ystyried fel canolbwynt y Diwygiad Protestanaidd. Barna rhai mai y gwirionedd hwnw ydyw, digonolrwydd yr Ysgrythyr fel rheol ffydd ac ymarweddiad. Ond y mae y farn hon yn rhoddi yr effaith yn lle yr achos; oblegid mewn canlyniad i waith yr Eglwys Babaidd yn gwrthod yr athrawiaeth o gyfiawnhad rhad trwy ffydd yr arweiniwyd Luther i ganfod mai yr Ysgrythyr oedd i benderfynu y ddadl. Wrth fwrw golwg yn ol ar ddechreuad yr ymrafael rhyngddo â'r Eglwys Babaidd y mae efe ei hun yn dywedyd, fel y gwelir yn y gyfrol gyntaf o'i waith, yn Lladin, tu dal. 49. "Nid oes neb a all wybod pa beth a ddyoddefodd fy nghalon am y ddwy flynedd gyntaf, ac i ba ddigalondid, ïe, gallaf ddywedyd, i ba anobaith, yr oeddwn yn fynych yn suddo.—Nid oeddwn, bryd hyny, yn deall llawer o bethau yr wyf, diolch i Dduw, yn eu gwybod yn awr.—Yr oeddwn yn edrych yn unig at y Pab, y Cardinaliaid, yr Esgobion, Cyfreithwyr, Mynachod ac Offeiriaid.—O'r cyfeiriad hwnw yr oeddwn yn dysgwyl anadliadau yr Ysbryd. Ond pan wnaeth yr Ysgrythyr i mi ddyfod allan yn fuddugoliaethus ar bob rhesymau gwrthwynebol, o'r diwedd, trwy ras Crist, gyda llawer o ing, ymdrech, ac anhawsder, cefais

feistrolaeth ar yr unig reswm oedd yn aros ar fy ffordd, sef, 'Y dylem wrandaw yr eglwys.'" Ac y mae yn hysbys fod Luther, tra fu byw, yn ystyried y gwirionedd am drefn iachawdwriaeth yn safon i farnu pa ysgrifeniadau sydd yn ddwyfol, yn hytrach na chymeryd yr ysgrifeniadau yn safon i farnu pa beth sydd wirionedd. Felly, mae yn ddiau, y dylem ddeall y dywediad hwnw o'i eiddo, "Os yw ein gwrthwynebwyr yn dwyn yr Ysgrythyr ymlaen yn erbyn Crist, yr ydym ninnau yn dwyn Crist ymlaen yn erbyn yr Ysgrythyr." Nid oedd yn meddwl fod Crist a'r Ysgrythyr yn groes i'w gilydd; ond ei fod ef yn barnu pob peth, hyd yn nôd y Bibl ei hun, yn ol ei berthynas â Christ. Yr oedd wedi cael y fath olwg ar ei gyflwr ei hun ger bron Duw, ac ar annigonolrwydd pob gweithredoedd dynol fel sylfaen cyfiawnhad, ag a barodd iddo deimlo, pan ddarllenodd am drefn i gyfiawnhau trwy ffydd, fod y drefn hono yn ddwyfol. Dyma yr un drychfeddwl mawr a roddodd sefydlogrwydd i'w olygiadau, a nerth cyson i'w holl fywyd: ac nid un diffyg yn y drychfeddwl, ond diffyg golwg ddigon ëang arno yn ei holl gysylltiadau, a barodd iddo gamsynied rai gweithiau wrth geisio ei gymhwyso, megis pan oedd yn taflu ammheuaeth ar epistol Iago, a rhanau eraill o'r Ysgrythyr, am nad oeddynt yn ol ei farn ef, yn rhoddi digon o le i gyfiawnbad trwy ffydd yn Nghrist yn unig.

Y mae cymaint â hyn yn amlwg ar yr olwg gyntaf; ond wrth sylwi yn fanylach, efallai y gwelir fod yma berthynas agosach eto. Yr oedd y Diwygwyr yn rhoddi lle mawr i'r Eglwys fel corff Crist; ac ar yr un pryd yr oeddynt yn ystyried yr Eglwys, nid fel cyfrwng rhwng Crist a'r aelodau, ond yn gyfansoddedig o'r aelodau, a phob aelod mewn undeb digyfrwng â Christ ei hun. Yr oeddynt yn credu fod Crist yn Gyfryngwr rhwng dyn a Duw; ond nid oeddynt yn credu fod un cyfryngwr rhwng y credadyn a Christ. Eu barn oedd fod dyn yn cael ei gyfiawnhau trwy ffydd yn Nghrist, ac nid trwy ffydd yn yr Eglwys. Yr oedd hyn yn eu harwain o angenrheidrwydd i gredu fod pob dyn i fyned at Grist ei hun; ac o ganlyniad fod pob dyn drosto ei hun i chwilio yr Ysgrythyrau y rhai sydd yn llefaru am Grist. Yr oedd pob Cristion, yn eu golwg hwy, yn offeiriad i Dduw, ac fel y cyfryw yn meddu hawl i'r holl ragorfreintiau sydd yn perthyn i offeiriadaeth y Testament Newydd. Ac nid hyn oedd y cwbl; oblegid yr oeddynt yn credu fod pob dyn, yn rhinwedd yr undeb â Christ trwy ffydd, yn dyfod i feddiant o arweiniad dwyfol, gan fod Ysbryd Crist yn trigo ynddo i'w dywys i bob gwirionedd. Iddynt hwy, gan hyny, nid ffurf o ymadrodd yn unig oedd cyfiawnhad trwy ffydd,

ond athrawiaeth lawn o fywyd, gan fod ffydd yn dwyn yr enaid at sylweddau; ac yn mysg y sylweddau hyny yr oedd Crist, y Gair, a'r Ysbryd.

Athrawiaeth arall a gymerir gan rai fel canolbwynt y Diwygiad Protestanaidd yw *caethiwed yr ewyllys.* Mae yn sicr fod y pwnc hwn yn cael lle mawr yn ysgrifeniadau y Diwygwyr; ond gellir esbonio hyn yn gyson â'r dŷb eu bod yn rhoddi y lle blaenaf i gyfiawnhad trwy ffydd: oblegid yr oedd yn angenrheidiol gwrthbrofi rhyddid yr ewyllys mewn dyn syrthiedig, hyny ydyw, fod ganddo unrhyw allu i ryngu bodd Duw trwy weithredoedd, er mwyn dangos fod cyfiawnhad yn dyfod trwy ffydd yn unig. Dyma y drefn a gymerodd yr Apostol Paul yn yr epistol at y Rhufeiniaid. Felly yr ydym yn cael Luther, yn Wittenberg, mor foreu â'r flwyddyn 1516, yn pregethu ar y gorchymynion; ac yn mysg sylwadau eraill ar y gorchymyn cyntaf, yn dywedyd wrth y gynnulleidfa, "Y mae holl feibion Adda yn eilunaddolwyr, ac yn euog o droseddu y gorchymyn cyntaf hwn. Y mae yr eilunaddoliaeth yma yn teyrnasu yn mhob dyn, nes yr iachêir ef yn rhad trwy y ffydd sydd yn Iesu Grist. A pha fodd yr iachêir ef? Fel y canlyn: Y mae ffydd yn Nghrist yn cymeryd oddi wrthych bob ymddiried yn eich doethineb eich hunain, yn eich cyfiawnder eich hunain, yn eich nerth eich hunain: Y mae yn eich dysgu, pe na buasai Crist wedi marw drosoch, ac wedi eich cadw trwy hyny, nas gallasai un creadur wneuthur lles i chwi. Yna yr ydych yn dysgu, dibrisio y pethau hyn oll, oblegid i chwi y maent yn aros yn ddifudd. Nid oes dim yn aros i chwi ond Iesu, neb ond Iesu, Iesu yn unig, Iesu yn holl-ddigonol i'ch eneidiau." Am natur ei addysg yn nechreu ei weinidogaeth y mae Melanchthon, yn hanes ei fywyd, yn dywedyd, ei fod yn esbonio yr Ysgrythyrau fel pe buasai dydd newydd wedi gwawrio ar ol hir dywyllwch, ei fod yn dangos y gwahaniaeth rhwng y ddeddf a'r efengyl, ei fod yn gwrthbrofi y cyfeiliornad cyffredin y gallai dynion deilyngu maddeuant trwy eu gweithredoedd eu hunain, a'i fod, fel Ioan Fedyddiwr, yn cyfeirio at Oen Duw yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau'r byd. Mae yn amlwg gan hyny mai gyda golwg ar gyfiawnhad trwy ffydd, yr ysgrifenodd efe ei Osodiadau yn y flwyddyn 1517, yn y rhai y mae yn dywedyd, "Nis gall dyn, yr hwn sydd bren drwg, ddymuno na gwneuthur dim ond sydd ddrwg. Y mae yn anwiredd fod yr ewyllys, pan adewir hi iddi ei hun, yn alluog i wneuthur da yn gystal a drwg; gan ei bod, nid yn rhydd, ond mewn caethiwed. Nid yw ewyllys dyn yn alluog i ewyllysio neu beidio ewyllysio pa beth bynag a gynnygir i'w dewisiad. Y mae y parotôad goreu ac anffaeledig, a'r unig duedd at

ras, yn gorwedd yn etholedigaeth ac arfaeth dragywyddol Duw. O du dyn nid oes dim yn rhagflaenu gras, oddieithr anallu a gwrthryfel." Yr un teimlad o eiddigedd dros gyfiawnhad trwy ffydd a barodd iddo, tua diwedd yr un flwyddyn, sef yn Hydref, 1517, wrthwynebu y maddeuant-lythyrau, a rhoddi ar ddrws yr eglwys yn Wittenberg y gosodiadau hyny a fu mor effeithiol i oleuo y gwledydd am lygredigaethau eglwys Rhufain; er nad yw yn traethu yn ffurfiol ar y pwnc o gyfiawnhad yn y gosodiadau hyn, mwy na'r rhai blaenorol.

Ond y mae ystyriaeth o ymchwiliadau y Protestaniaid i luaws o faterion eraill heblaw cyfiawnhad trwy ffydd wedi arwain amryw ysgrifenwyr diweddar i ymofyn am ryw egwyddor fwy cynnwysfawr fel canolbwynt y Diwygiad. Er anghraifft, y mae Schenkel yn barnu mai gwreiddyn Protestaniaeth yw "Y drychfeddwl am adferiad dynoliaeth trwy ffydd yn Iesu Grist y Duw-ddyn, i gymundeb bywiol, moesol, perffaith, â Duw." Nid heb sail y dadleuir fod y dyffiniad hwn yn rhy agored, gan ei fod yn dynodi yr hyn yw Cristionogaeth yn gyffredinol, ac nid yr hyn yw Protestaniaeth yn neillduol. Nid yw yn dangos y gwasanaeth arbenig a gyflawnwyd gan y Diwygwyr, ac felly wrth ddweyd gormod nid yw yn dweyd yr hyn oedd angenrheidiol. Ond gwrthddadl gryfach ydyw, ei fod yn priodoli i'r Diwygwyr yr hyn ni chyflawnwyd ganddynt. Llwyddasant i ddangos y drefn i godi dyn i gymundeb â Duw yn wrthddrychol; ond yr oedd Luther a Melanchthon yn ddiffygiol yn eu golygiadau am y drefn hon yn dufewnol. Yr oedd Calfin yn fwy cywir ei farn am y mater hwn; ond nid oedd yntau yn canfod ei bwysfawrogrwydd yn ei gysylltiad â'r oll o grefydd, yn athrawiaethol ac ymarferol. Os oes anghen am egwyddor fwy cyffredinol nag athrawiaeth cyfiawnhad trwy ffydd fel canolbwynt Protestaniaeth, y mae yn rhaid i mi ddywedyd nad wyf yn gwybod am ddim yn fwy boddlonol nag ëangiad o'r hyn a roddwyd eisoes mewn rhan yn nechre y bennod hon, sef trefn Duw yn wrthddrychol, neu fel y mae yn bod y tu allan i ddyn. Cymer hyn i fewn y pynciau hyny a dderbyniasant gymaint o sylw oddiwrth Calfin a Zuinglius, megis Arfaeth, Etholedigaeth, a Rhagluniaeth. Ond yr oedd y pynciau hyn wedi bod yn destynau ymchwiliad er dyddiau Augustine, ac felly nis gallent gyfansoddi nôd anghen y Diwygiad. Nis gallaf, gan hyny, lai na meddwl fod yr ëangiad a grybwyllwyd yn afreidiol, ac mai gwell yw i ni gyfyngu ein hunain yn y cysylltiad hwn at effaith gwaith Crist yn wrthddrychol; yr hyn sydd yr un peth a dywedyd mai athrawiaeth cyfiawnhad trwy ffydd yw canolbwynt y Diwygiad Protestanaidd.

Er mwyn cael golwg ar natur a gwerth yr hyn a wnaeth y Diwygwyr, byddai yn fuddiol i ni edrych pa beth oedd barn yr Eglwys Babaidd am ffydd a chyfiawnhad. Yr amlygiad awdurdodedig o athrawiaethau yr Eglwys hono yw yr hyn a geir yn mhenderfyniadau Cynghor Trent; ond nid oes achos am well crynodeb o honynt mewn cysylltiad â'r mater hwn nag a roddir gan Moehler, y galluocaf o amddiffynwyr Pabyddiaeth. Fel y canlyn y mae efe yn ceisio dangos pa beth yw cyfiawnhad: "Y mae Cynghor Trent yn desgrifio cyfiawnhad fel derchafiad o gyflwr o bechadurusrwydd i gyflwr o ras a mabwysiad; hyny ydyw, difodiad yr undeb sydd rhwng yr ewyllys a'r Adda bechadurus (symudiad ymaith y pechod gwreiddiol, a phob pechod arall a gyflawnwyd cyn y cyfiawnhad), a ffurfiad cymundeb â Christ, yr Un sanctaidd a chyfiawn,—cyflwr sydd mewn ystyr nacâol yn gyflwr o faddeuant pechod, ac mewn ystyr gadarnhaol yn gyflwr o sancteiddiad. Mae y Cynghor yn mhellach yn gosod allan gyfiawnhad fel adnewyddiad y dyn oddi fewn, trwy yr hyn yr ydym yn dyfod yn wirioneddol gyfiawn, hefyd yn dufewnol yn y crediniwr, ac yn adferiad i gyflwr cyntefig dynoliaeth. Oherwydd hyn, mae yr un gymanfa yn sylwi fod ffydd, gobaith, a chariad, trwy y weithred o gyfiawnhad, yn cael eu planu yn enaid dyn; ac mai yn y ffordd hon yn unig y mae efe yn wirioneddol yn cael ei uno â Christ, ac yn dyfod yn aelod byw o'i gorff ef. Mewn geiriau eraill, y mae cyfiawnhad yn cael ei ystyried yn sancteiddhad a maddeuant pechodau, fel y mae yr olaf yn gynnwysedig yn y blaenaf, a'r blaenaf yn yr olaf; y mae yn cael ei ystyried yn dywalltiad o gariad Duw yn ein calonau ni trwy yr Ysbryd Glân."

Gwelir fod derbyniad ger bron Duw, yn ol y gyfundrefn Babaidd, yn ymddibynu yn hollol ar yr hyn yw dyn ynddo ei hun, ac nid mewn un gradd ar yr hyn yw Crist, na'r hyn a wnaeth Crist drosto. Nid oes yma le i Grist o gwbl, oddieithr fel y mae yn cynnorthwyo dyn i ddyfod i'r cyflwr hwn. Pa fodd bynag y mae yma gysondeb, oblegid y mae yma gyfiawnder sydd yn ateb i ofynion y gyfraith yn cael ei dybied o leiaf; ac nid oes un golygiad ar gyfiawnhad yn gyson heb hyny. Hanfod Protestaniaeth ydyw fod cyfiawnhad yn seiliedig ar gyfrifiad o gyfiawnder perffaith Crist: ond y mae Pabyddiaeth ddiledryw yn dysgu fod dyn yn y cyfiawnhad yn cael ei wneuthur mor gyfiawn ynddo ei hun fel nad oes mwyach yn aros ynddo, tra fyddo yn y cyflwr o gyfiawnhad, ond ffaeleddau bychain yn unig, y rhai nid ydynt yn haeddu cospedigaeth, nac yn atal cymundeb â Duw. Ymddengys hyn yn amlycach oddiwrth y dyfyniadau canlynol o waith yr un awdwr "Er mwyn cwblhau yr addysg

Gatholig am gyfiawnhad, dylem, yn ol Cynghor Trent, ychwanegu dau sylw. Yn y lle cyntaf, Nid yw yr Eglwys Gatholig yn gwadu fod trachwant yn aros yn y dyn a gyfiawnhawyd, er fod pechod gwreiddiol, ynghyd â phob pechod gweithredol wedi eu maddeu iddo, ac wedi eu dileu o'i enaid. Er hyny y mae yn dysgu nad yw hyn *ynddo ei hun* yn bechod; ac os yw yr Ysgrythyr Sanctaidd yn llefaru am dano dan yr enw hwn, yr achos o hyny ydyw, ei fod yn ymddangos fel canlyniad pechod, ac yn arwain hefyd i bechod pan fyddo yr ewyllys yn gwrandaw ar ei gymhelliadau. Dywed y Cynghor, 'Nid yw Duw yn casâu dim yn y rhai a ailanwyd, oblegid nid oes dim yn haeddu damnedigaeth yn y rhai a gladdwyd yn wirioneddol gyda Christ mewn bedydd, y rhai nid ydynt yn rhodio yn ol y cnawd, ond yn rhoddi ymaith yr hen ddyn, ac yn gwisgo y newydd, wedi eu creu yn ol Duw, ac wedi dyfod yn ddifai, yn ddifrycheulyd, yn bur, ac wrth fodd Duw, yn etifeddion i Dduw, a chydetifeddion â Christ, fel nad oes dim mwyach yn rhwystro eu mynediad i'r nefoedd.' Yr ail sylw ydyw, Fod yr Eglwys Gatholig yn athrawiaethu, nad yw y dyn cyfiawn un amser yn gallu cadw ei hun yn hollol rydd oddiwrth bechodau maddeuadwy, a'i fod yn troseddu mewn llawer ffordd, ac am hyny nid heb reswm y mae yn gweddïo bob dydd am faddeuant pechodau. Ond gan nad yw ewyllys yr ailanedig trwy hyny yn cael ei phellhâu oddiwrth Dduw, nac oddiwrth ei gyfraith sanctaidd, a chan fod y cyfryw droseddau yn tarddu o wendid y dyn newydd, yn hytrach nag o weddillion cyndynrwydd yn yr ewyllys, nid yw pechodau o'r natur yma yn achosi un atalfa yn y berthynas newydd â Duw."

Ond y mae un bwlch yn aros eto yn y gyfundraeth. Os rhywbeth fel hyn yw cyfiawnhad, pa fodd y mae o ffydd? I'r dyben o lanw y bwlch hwn, a gwneuthur y gyfundraeth yn gyflawn gyson, y mae yr Eglwys Babaidd yn troi ffydd yn weithredoedd, trwy ddal nad yw yn cyfiawnhau os na fydd yn ffydd gyflawn, ac nad yw yn gyflawn ond pan fyddo yn cael ei bywhau a'i chyfnerthu gan gariad. Dyma yr hyn a alwant yn ffydd wedi ei llawnffurfio *(fides formata)*, mewn cyferbyniad i ffydd farw. Ac yn awr dyma gyfiawnhad o weithredoedd, yn gystal a gweithredoedd yn gyfiawnder. Mewn effaith, y maent yn rhedeg i'w gilydd, yn y fath fodd fel y mae y ffydd sydd yn cyfiawnhau yn myned ei hun yn gyfiawnder. Ond yn ngwyneb hyn gellir gofyn, Pa fodd y mae dyn yn cael ei ddwyn i'r cyflwr hwn? Yr ateb ydyw, Trwy y sacramentau. Yn unol â'r dyb hon y mae Cynghor Trent yn cyfrif pump achos o gyfiawnhad, heb enwi ffydd fel un o honynt, oddieithr ei bod yn gynnwysedig yn yr olaf.

Yr achos eithaf yw gogoniant Duw a bywyd tragywyddol; yr achos effeithiol yw Duw yn ei drugaredd; yr achos haeddiannol yw Crist; yr achos offerynol yw sacrament y bedydd; a'r achos ffurfiol yw cyfiawnder Duw, sef y cyfiawnder a dderbynir genym, ac yr adnewyddir ni trwyddo yn ysbryd ein meddwl. Ond ar ol derbyn cyfiawnhad yn y bedydd, gallwn ei golli drachefn trwy esgeulusdra; ac yna y mae yn rhaid i ni adennill cymod â Duw, yr hyn a wneir trwy y sacrament o benyd.

Afreidiol yma fyddai ceisio gwrthbrofi yr athrawiaethau hyn; ac am hyny rhoddir dyfyniad byr yn unig o Gyffes Ffydd Augsburg i ddangos mewn cyferbyniad beth oedd barn y Diwygwyr. "Y mae ein duwinyddion ni yn cael eu cyhuddo ar gam fel pe byddent yn gwahardd gweithredoedd da. Oblegid y mae eu hysgrifeniadau ar y Deg Gorchymyn, ac eraill o'r un ansawdd, yn tystiolaethu eu bod wedi dysgu yn fuddiol, mewn perthynas i holl amrywiaethau a dyledswyddau bywyd, pa fath ddull o fyw a pha weithredoedd yn mhob galwedigaeth sydd yn rhyngu bodd Duw. Am ba bethau nid oedd pregethwyr gynt yn dysgu ond ychydig: yn unig annogent i weithredoedd plentynaidd ac afreidiol, megis gwyliau ac ymprydiau penodol, pererindodau, addoliad y seintiau, mynachaeth, a'r cyffelyb. Ein gwrthwynebwyr wedi eu ceryddu am y pethau hyn ydynt yn awr yn eu gadael, ac nid ydynt yn pregethu y gweithredoedd difudd hyn yn yr un modd ag yr oeddynt o'r blaen. Heblaw hyny, y maent yn awr yn dechreu son am ffydd, am yr hon o'r blaen yr oedd dystawrwydd rhyfeddol. Ond eto nid ydynt yn peidio tywyllu athrawiaeth ffydd, pan y maent yn gadael cydwybodau mewn ammheuaeth, ac yn gorchymyn i ddynion haeddu maddeuant pechodau trwy weithredoedd: ac nid ydynt yn dysgu ein bod trwy ffydd yn unig er mwyn Crist yn derbyn maddeuant pechodau. Pan, gan hyny, yr oedd yr athrawiaeth am ffydd, yr hon a ddylai gael y lle blaenaf yn yr eglwys, wedi gorwedd yn anadnabyddus am gymaint o amser, megis y mae yn rhaid i bawb gyfaddef fod y dystawrwydd dyfnaf yn eu pregethau am gyfiawnder ffydd, ac mai athrawiaeth gweithredoedd yn unig a ddygid ger bron yr eglwysi, ein duwinyddion ni a ddysgasant yr eglwysi mewn perthynas i ffydd fel y canlyn: Yn gyntaf, Nas gall ein gweithredoedd ni gymodi Duw â ni, na haeddu maddeuant pechodau, gras, a chyfiawnhad; ond ein bod yn cael hyn trwy ffydd yn unig, pan ydym yn credu mai er mwyn Crist yr ydym yn cael derbyniad, yr hwn yn unig a osodwyd yn Gyfryngwr ac yn Eiriolwr, trwy yr hwn y mae y Tad yn cael ei heddychu. --Er fod yr athrawiaeth hon yn ddirmygedig gan yr anwybodus, y mae

cydwybodau duwiol ac ofnus yn teimlo eu bod yn rhoddi y cysur mwyaf, oblegid ni ellir tawelu cydwybodau trwy unrhyw weithredoedd, ond trwy ffydd yn unig, pan gredir yn sicr fod Duw yn gymodlawn er mwyn Crist. —Heblaw hyny y mae ein duwinyddion ni yn dysgu fod yn angenrheidiol cyflawni gweithredoedd da, nid i'n dwyn i hyderu y bydd i ni haeddu gras trwyddynt, ond oblegid ewyllys Duw. Trwy ffydd yn unig y ceir gafael ar faddeuant pechodau, a heddwch cydwybod. Ac oblegid fod yr Ysbryd Glân yn cael ei dderbyn trwy ffydd, y mae ein calonau yn awr yn cael eu hadnewyddu, ac yn ymwisgo â serchiadau newyddion, fel y maent yn alluog i ddwyn ffrwyth mewn gweithredoedd da."

Y mae hyn yn ddigon i ddangos y gwahaniaeth rhwng y Diwygwyr yn gyffredinol a'r Eglwys Babaidd, yr hwn wahaniaeth sydd mor fawr fel y mae yn hawdd i bawb ei ganfod. Ond mwy anhawdd yw y gofyniad nesaf, Yn mha ystyriaethau, ac i ba raddau, yr oedd y Diwygwyr eu hunain yn gwahaniaethu oddiwrth eu gilydd? Y mae rhai wedi gwneyd cais i esbonio y cyferbyniad rhwng Lutheriaeth a Chalfiniaeth trwy ddweyd fod y Lutheriaid yn gwrthwynebu Iuddewiaeth yr Eglwys Babaidd, a'r Calfiniaid yn gwrthwynebu ei Phaganiaeth. Codwyd Luther a Melanchthon i ddangos yr ynfydrwydd o ymddiried mewn ffurfiau a gweithredoedd dynol am gymeradwyaeth ger bron Duw; ac arweiniwyd Calfin a'i ddilynwyr i ddangos yr unig wir a bywiol Dduw fel ffynnonell pob gras. Y mae eglurhad mwy cywrain eto wedi ei roddi gan Schneckenburger; ond os ydyw i ryw raddau yn ddarluniad cywir o ddaliadau y Lutheriaid a'r Calfiniaid yn y dyddiau hyn, y mae seiliau cryfion i ammheu ei gywirdeb gyda golwg ar y Diwygwyr cyntaf. Yn ol ei ddesgrifiad ef, y mae athrawiaeth y Lutheriaid yn tarddu o'r teimlad o euogrwydd, ac yn ystyried cyfiawnhad fel y peth cyntaf yn y drefn, fel gweithred ddwyfol arosol, yn gorphwys yn Iawn Crist, yn yr hon weithred y mae Duw yn cyhoeddi yn gyfiawn y dyn sydd wedi dyfod i deimlad o'i euogrwydd, ac yn ei symud o'i gyflwr euog i berthynas fabaidd ag ef ei hun. Y mae y dyfarniad dwyfol hwn yn cyflawni ei hun trwy y sacramentau, yn gyntaf trwy fedydd a thrwy bregethiad yr efengyl, oblegid trwyddynt hwy y mae yr Ysbryd Glân yn cenhedlu ffydd, yr hon sydd yn cymeryd gafael yn y gras maddeuol a gynnygir. Yma y mae dyfarniad dwyfol y cyfiawnhad yn allu creadigol, yr hwn, trwy ddadguddio ei hun i'r pechadur, sydd yn cenhedlu ffydd trwy yr hon y mae yn cyfranogi o Grist a'i haeddiant, ac yn dyfod i undeb a chymundeb bywiol a gweithredol â Christ. O'r tu arall, y mae athrawiaeth y Calfiniaid, yn ol ei farn ef, yn

tarddu o'r teimlad o anghen a thrueni, yr hyn sydd yn peri i'r pechadur droi at ras Duw, a chymeryd etholedigaeth fel gwreiddyn yr holl drefn. Y mae etholedigaeth yn dangos ei hun mewn galwedigaeth effeithiol, yr hon sydd yn cenhedlu ffydd yn y pechadur a ddygwyd i deimlad o'i drueni, ac a dynwyd trwy hyny gan y Tad at y Mab. Trwy y ffydd hon y mae yn cymeryd gafael ar Grist yn y fath fodd fel y mae yn dyfod yn un â Christ, ac ynddo ef yn cael ei wneuthur yn ol Duw yn ddyn newydd mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd. Yma y mae cyfiawnhad yn cymeryd lle, yr hyn sydd farn yn ol gwirionedd, gan fod y crediniwr, er yn anmherffaith, eto wedi dyfod yn Nghrist i feddiant o egwyddor gyfiawn, yr hon trwy rinwedd etholedigaeth gras sydd yn sicr o ddyfod yn berffaith.

Nis gellir gwadu fod rhyw liw o wirionedd ymddangosiadol yn perthyn i'r desgrifiad hwn: ond o ran y sylwedd o hono mae yn ddiammheuol ei fod yn sylfaenedig ar olygiadau cyfeiliornus am farn y Diwygwyr. Un peth a allasai arwain iddo ydyw, fod Luther a Melanchthon mor fynych yn priodoli sicrwydd i ffydd. Gan eu bod yn dysgu yn gyson fod pob crediniwr yn sicr fod Duw yn maddeu ei bechodau, ac yn ei dderbyn yn Nghrist, ac mai hyn mewn gwirionedd yw credu, nid yw yn annaturiol casglu mai eu barn hwy ydoedd, fod cyfiawnhad yn rhagflaenu ffydd; oblegid nis gall neb fod yn sicr ar sail dda o'r hyn nid yw yn bod. Ond drachefn, gan eu bod yn dysgu mor gyson mai trwy ffydd yn Nghrist yn unig yr ydym yn dyfod i gyflwr o gyfiawnhad, mae yn rhaid fod ganddynt ryw olwg ar y sicrwydd sydd yn anwahanol oddiwrth wir ffydd ag oedd yn caniatâu iddynt ystyried ffydd yn Nghrist fel yn gynt mewn trefn na chyfiawnhad. Ac erbyn troi i waith Calvin (*Inst.* iii. 15—19), yr ydym yn cael ei fod yntau yn dysgu nas gall ffydd fod heb sicrwydd. Yr unig wahaniaeth ydyw ei fod ef yn fwy gofalus i ddangos fod y sicrwydd hwn yn rhywbeth amgen na sicrwydd deall, yn deimlad o ymorphwysiad ar drefn Duw, yn hyder sanctaidd yn ei drugaredd mewn Iawn. Barn gyffredinol y Diwygwyr oedd, fod pob gweithred o ffydd yn cynnwys ynddi ryw radd o sicrwydd, fod y sicrwydd hwn yn gorchfygu anghrediniaeth, a'i fod yn myned ar gynnydd o angenrheidrwydd fel y mae ffydd yn cynnyddu. Yn ol eu barn hwy y mae ffydd bob amser yn edrych allan ar y cadernid a'r digonolrwydd sydd yn nhrefn Duw. Yn lle gorphwys ar yr hyn yw y dyn ei hun, nac ar ddim sydd ynddo, y mae yn gorphwys yn unig ar Grist, ac am hyny y mae yn sicrwydd. Ond yn ein dyddiau ni y mae y gwirionedd hwn oedd yn rhoddi cymaint o gysur

iddynt hwy bron wedi ei lwyr golli. Yn gyffredin, y rhai sydd yn ei ddal mewn enw nid ydynt yn ei ddeall; tra y mae eraill, am nad ydynt yn ei ddeall, yn edrych arno gyda rhagfarn.

O barth y camddarluniad o'r athrawiaeth Galfinaidd, dichon iddo gael ei achlysuro mewn rhan gan y ffaith mai yn y trydydd llyfr, "Am waith yr Ysbryd Glân," y mae Calfin yn ymdrin â chyfiawnhad trwy ffydd, a'i fod wedi traethu cyn hyn ar edifeirwch, yr hwn a gymerir ganddo ef yn ei ystyr helaethaf fel cyfnewidiad meddwl, ac fel yn cynnwys ailenedigaeth. Yn awr, onid yw hyn yn profi ei fod yn rhoddi ailenedigaeth o flaen cyfiawnhad, ac yn ei ystyried yn achos o gyfiawnhad? Ond y mae yn amlwg ar unwaith fod hyn yn gyfeiliornus, oblegid ni fu neb yn fwy eiddigeddus na Chalfin yn erbyn rhoddi cyfiawnhad i ymddibynu ar unrhyw ddaioni mewn dyn. Ac wrth sylwi yn fanylach canfyddir ei fod, nid yn unig yn traethu ar ffydd cyn dyfod at y cyfnewidiad meddwl a elwir ganddo yn edifeirwch, ac nid yn unig yn dywedyd yn benodol fod y cyfnewidiad hwnw yn cael ei ragflaenu gan ffydd, ond hefyd yn rhoddi ar ddeall mewn geiriau eglur fod cyfiawnhad yn flaenorol mewn trefn ailenedigaeth. Fel y canlyn y dywed yn nechreu ei ymdrafodaeth â'r pwnc o gyfiawnhad trwy ffydd: "Sylwedd yr hyn a ddygais ger bron ydyw, fod Crist, yr hwn a roddir i ni trwy ddaioni Duw, yn cael ei dderbyn a'i feddiannu genym trwy ffydd, a'n bod trwy ei dderbyn ef yn dyfod i feddiant o ddwy fendith neillduol. Yn y lle cyntaf, wedi ein heddychu â Duw trwy ei gyfiawnder ef, y mae genym yn y nefoedd Dad cymmodlawn yn lle Barnwr: yn y lle nesaf, wedi ein sancteiddio trwy ei Ysbryd ef, yr ydym yn rhoddi ein hunain i sancteiddrwydd a phurdeb bywyd. Am ailenedigaeth, yr hyn yw yr ail fendith, yr wyf wedi dywedyd yr hyn a ymddangosai i mi yn ddigon. Nid wyf wedi cyffwrdd ond yn ysgafn â threfn cyfiawnhad, oblegid fod yn angenrheidiol deall yn gyntaf fod y ffydd hono, trwy yr hon yn unig yr ydym yn cyrhaedd cyfiawnhad rhad o drugaredd ddwyfol, yn cael ei dilyn gan weithredoedd da, a pha beth yw natur gweithredoedd da y saint, yn yr hyn y mae rhan o'r ymofyniad hwn yn gynnwysedig. Y pwnc o gyfiawnhad, gan hyny a ddylem yn awr ei drafod yn gyflawn, a'i drafod gyda'r ystyriaeth mai ar y pegwn hwn yn benaf y mae crefydd yn ymddibynu, fel y byddo i ni roddi iddo fwy o sylw a gofal. Oblegid os na ddeallwn yn gyntaf oll y cyflwr yr ydym yn sefyll ynddo ger bron Duw, a pha beth yw ei farn ei am danom, nid oes genym un sylfaen i sicrwydd am gadwedigaeth, nac i'r ymarferiad o dduwioldeb tuag at Dduw."

Fod y Calfiniaid wedi rhoddi lle mawr i arfaeth ac etholedigaeth ddiammodol sydd wirionedd diammheuol, ac hefyd fod y Lutheriaid wedi cilio yn raddol oddiwrth yr athrawiaethau hyn: ac y mae y ffaith hon wedi peri i lawer dybied fod gwahaniaeth gwreiddiol rhyngddynt yn yr ystyr yma, ac mai ymlyniad wrth arfaeth ac etholedigaeth yw hanfod Calfiniaeth. Pe byddai hyn yn wir, nid yw yn profi nas gallent fod yn unol yn eu golygiadau am gyfiawnhad trwy ffydd; oblegid er fod y Calfiniaid yn barnu fod cysylltiad anwahanol rhwng y ddwy athrawiaeth, eto y mae llawer wedi bod yn dal y naill heb ddal y llall. Ac y mae yr hanes ynddo ei hun yn dangos fod yr holl Ddiwygwyr yn un a chytun gyda golwg ar drefn cyfiawnhad, pa wahaniaeth bynag a allasai fod rhyngddynt mewn pethau eraill. Prin y gellir edrych ar Osiander fel eithriad, yr hwn oedd yn ceisio dal mai Crist mewn dyn yw sylfaen cyfiawnhad, oblegid nid oedd efe yn perthyn i'r Diwygwyr cyntaf; ac heblaw hyny, er ei fod yn rhoddi y tufewnol yn lle y gwrthddrychol, yr oedd mor bell â neb oddiwrth ddal cyfiawnhad trwy weithredoedd. Pe buasai eithriad i'w gael, yn Melanchthon y gallesid ei ddysgwyl; gan ei fod ef wedi myned trwy fwy o gyfnewidiadau yn ei farn, ar ol derbyn athrawiaethau y Diwygiad, na'r un o'r lleill: ond y mae Bossuet ei hun, er yr holl drafferth a gymerodd i ddangos ei anghysonderau, yn gorfod addef iddo lynu yn gyson trwy ei holl fywyd wrth gyfiawnhad trwy ffydd. Ac eto yr oedd llawer mwy o wahaniaeth rhwng Melanchthon yn ei flynyddoedd olaf â Luther, nag a fu erioed rhwng Luther a Chalfin. Ond y gwirionedd syml ydyw, fod yr holl dybiaeth am ryw wahaniaeth gwreiddiol rhwng y Diwygwyr a'u gilydd yn hollol ddisail. Y mae hyn wedi ei brofi tuhwnt i bob ammheuaeth gan Julius Müller. Ar y cyntaf yr oedd Luther, Zuinglius, Melanchthon, a Chalfin, yn cytuno yn hollol o ran sylwedd eu golygiadau nid yn unig ar gyfiawnhad, ond hefyd ar arfaeth ac etholedigaeth, a rhyddid yr ewyllys. A chan mai yn raddol y daeth cyfnewidiad barn i mewn gyda golwg ar y pynciau olaf hyn, nis gallasai hyny beri fod gwahaniaeth gwreiddiol rhwng y Diwygwyr â'u gilydd. Ond gan fod yr achos hwn yn un o'r rhai mwyaf pwysig yn hanes duwinyddiaeth, ni ddylid ei adael heb sylw mwy neillduol.

Er mai cyfiawnhad trwy ffydd oedd canolbwnc yr holl Ddiwygiad, ni allesid ymdrin ag ef heb gyffwrdd â materion eraill, yn enwedig rhyddid yr ewyllys, ac etholedigaeth. Yn awr, y gosodiad ydyw fod undeb sylweddol gyda golwg ar yr holl faterion hyn rhwng yr holl Ddiwygwyr ar y cyntaf. Yr oeddynt, mae yn wir, yn gwahaniaethu o'r dechreu gyda

golwg ar swper yr Arglwydd; ond nid gyda golwg ar gyfiawnhad, nac un athrawiaeth sydd yn dwyn perthynas â chyfiawnhad. A ydyw dyn yn alluog o hono ei hun i wneuthur rhywbeth i ryngu bodd Duw? Nac ydyw, meddent oll; ac am hyny y mae yn rhaid i'w gadwedigaeth fod o ras penarglwyddiaethol, trwy ffydd, ac nid trwy weithredoedd. Yr oeddynt oll yn gwadu ewyllys rydd. Yr oeddynt oll yn dal etholedigaeth ddiammodol. Yr unig wahaniaeth oedd, fod Calfin yn fwy cymedrol nag un o'r lleill. Efe oedd yn fwyaf gofalus i ddangos nad oedd Duw yn awdwr pechod. Efe yn unig oedd yn gwrthwynebu rhyddid yr ewyllys heb ddadsylfaenu cyfrifoldeb. Yr oedd Calfin yn dal fod gan ddyn fel creadur ewyllys rydd, ac mai trwy bechod yr aeth yr ewyllys yn gaeth; tra yr oedd Luther a Zuinglius, ac hyd yn nôd Melanchthon ar y cyntaf, yn fynych yn ymresymu fod arfaeth Duw yn anghyson â rhyddid ewyllys, ac am hyny nas gallasai fod gan ddyn fel creadur ewyllys rydd. Ond y mae yn ddiammheuol fod Calfin ei hun wedi myned yn rhy bell trwy ddal gwrthodedigaeth. Yn yr ystyr yma y mae yn gwahaniaethu oddiwrth Augustine. Ond dylid cofio fod rhai o'r meddylwyr mwyaf yn mysg athronwyr wedi bod o'r un farn, yn annibynol ar bob athrawiaeth dduwinyddol; ac mai methu wnaeth Calfin lle y mae pawb wedi methu ag sydd wedi cynnyg, sef wrth geisio esbonio dechreuad drwg moesol, yn lle ei adael heb ei esbonio. Addefir ganddo ef ei hun nas gellir amgyffred pa fodd y mae Duw yn drugarog, ac ar yr un pryd yn penderfynu i dyrfa ddirif o'i greaduriaid fod byth yn golledig; ac am hyny, fod ffydd yn angenrheidiol cyn y gellir derbyn yr athrawiaeth hon. Doethach yn ddiau fuasai gadael ffydd i weithredu yn gynt, trwy ganiatâu iddi gredu nad yw Duw yn ewyllysio dim ond daioni, er fod drwg mewn rhyw fodd anamgyffredadwy wedi dyfod i fod.

Ond hawdd i ni mewn tawelwch yw canfod colliadau y rhai oedd yn mhoethder y frwydr: ac yn yr oes hono, wedi i'r cynhwrf mwyaf fyned drosodd, cododd gwrthwynebiad i syniadau eithafol y Diwygwyr hyd yn nôd yn eu plith hwy eu hunain. Yn amser y ddadl rhwng Calfin a Bolsec, ysgrifenodd Bullinger, olynwr Zuinglius, at Calfin i ddangos yr angenrheidrwydd am ochelyd pob dull o ymadroddi oedd yn tueddu i wneuthur Duw yn awdwr pechod. Ond yn mysg y Lutheriaid y cododd y gwrthdarawiad mwyaf sefydlog, yr hwn a welir yn ysgrifeniadau Melanchthon yn mhell cyn marwolaeth Luther. Yn fuan wedi ei fynediad i Wittenberg, cyfansoddodd Melanchthon gorff o dduwinyddiaeth, yr hwn a gyhoeddwyd ganddo dan yr enw, "*Loci Communes.*" Yn yr argraffiad

cyntaf, yn 1521, nid oedd yn ymdrin â'r athrawiaethau am Dduw, y Drindod, na Pherson Crist; ond yn traethu yn helaeth am gyflwr dyn, a chyfiawnhad trwy ffydd, gan arddangos cydwelediad perffaith â Luther yn ei holl olygiadau. Dywed fod arfaeth ddwyfol yn cymeryd ymaith ryddid oddiwrth ddyn; fod pob peth yn cymeryd lle yn ol arfaeth ddwyfol, pa un bynag ai gweithredoedd allanol ai meddyliau tufewnol. Dywed hefyd, mewn sylwadau a gyhoeddodd yn 1523, fod Duw yn gwneuthur pob peth, nid yn oddefol, ond yn effeithiol, ac mai ei waith ef oedd bradwriaeth Judas, a godineb Dafydd, yn gystal a galwedigaeth Paul. Nid oes dim gwaeth na hyn yn Luther, ac nid oes dim tebyg yn holl ysgrifeniadau Calfin. Ond nid hir y bu Melanchthon heb gilio yn ol oddiwrth y fath syniadau eithafol; ac efallai iddo yn raddol fyned yn rhy bell i'r ochr arall. Nid yw yn ymddangos iddo newid mor bell ag i gredu nad oedd arfaeth ac etholedigaeth yn bod: ond y mae yn ddiau iddo fyned i deimlo nad oedd yr athrawiaethau hyn yn rhai i ddadleu yn eu clych; ac mai gwell oedd bod yn ddystaw na siarad am danynt yn y fath fodd ag i roddi achlysur i neb fyw mewn pechod. Ac yn enwedig canfyddir ynddo, yn ei flynyddoedd olaf, y gofal mwyaf i ddangos nad oedd arfaeth Duw mewn un modd yn achosi pechodau dynion. Ond rhaid yw ychwanegu fod ei olygiadau ar y pwnc hwn yn myned o hyd yn fwy tywyll, ac mai anhawdd yw dywedyd yn sicr pa beth oeddynt. Mewn perthynas i ryddid yr ewyllys y mae ei farn i ryw radd yn fwy eglur. Er ei fod yn dal gafael o hyd mewn cyfiawnhad trwy ffydd, aeth i deimlo fod yma le i amryw ofyniadau o barth y modd y mae dyn yn dyfod i gredu. A ydyw yn ddyledswydd arno gredu? Os ydyw, a ellir ei ystyried yn gyffelyb i bren neu faen, fel y byddai Luther yn arfer ei ddesgrifio? Yr oedd Calfin yn dywedyd fod ewyllys dyn yn weithredol yn ei droedigaeth, ond fod yn rhaid i Dduw ddechreu. Aeth Melanchthon yn mhellach, ac arferodd eiriau oedd yn cynnwys fod yn rhaid i Dduw a dyn gydweithredu, yr hyn a fu yn achlysur i'r ddadl a gododd wedi hyny, yr hon a elwir "Dadl y Cydweithrediad" *(Synergistic Controversy)*. Mor foreu â 1535, yn yr argraffiad o'r *Loci* a gyhoeddwyd y flwyddyn hono, y mae yn dweyd fod tri achos yn cydweithredu yn nhroedigaeth pechadur, y Gair, yr Ysbryd, a'r ewyllys ddynol. Ac yn yr argraffiad am 1548, dywed fod ewyllys rydd mewn dyn yn allu i ymaflyd mewn gras. Y mae ystyr yn yr hwn y gellir cyfiawnhau yr holl ymadroddion hyn o eiddo Melanchthon: ac y mae yn sicr na chollodd Luther a Chalfin mo'u hymddired ynddo fel un o brif amddiffynwyr yr athrawiaeth Gristionogol. Y mae

rhai o'i lythyrau at ei gyfeillion yn profi ei fod ef yn teimlo ei hun weithiau mewn sefyllfa anghysurus yn Wittenberg, ac nid ydynt yn hollol rydd oddiwrth ambell air angharedig wrth son am Luther. Ond eithriadau oedd y rhai hyn. Yn gyffredin edrychai Melanchthon at Luther fel plentyn at ei dad: ac er fod Luther yn glynu wrth ei olygiadau ei hun hyd y diwedd, siaradai ac ysgrifenai am Melanchthon bob amser gyda'r parch mwyaf. Yr un modd am Calfin, er iddo ysgrifenu at Melanchthon i ddymuno arno fod yn fwy gwrol o blaid yr athrawiaethau hyny y mae mwyaf o wrthwynebiad iddynt yn y meddwl anianol, y mae yn dywedyd ar yr un pryd, nad oedd yn ystyried fod unrhyw wahaniaeth hanfodol yn eu golygiadau: ac wedi i Melanchthon ddwyn i mewn i'w lyfr y cyfnewidiadau y soniwyd am danynt, cyhoeddodd Calfin gyfieithiad o hono yn Ffrancaeg. Cyfarfuasent â'u gilydd yn Frankfort, yn 1539, ac wedi hyny yn Worms yn 1540; a bu gohebiaeth gyfeillgar rhyngddynt hyd nes y bu Melanchthon farw, yn 1560, yn mhen 14 o flynyddoedd wedi marwolaeth Luther. Y mae hyn oll yn profi nad oedd y gwahaniaeth rhwng Melanchthon a'i gyd-ddiwygwyr yn cael ei ystyried ganddynt hwy yn un pwysig; er, efallai, fod ei gymeriad personol, heblaw eu cred hwythau am ei gydwybodolrwydd, yn peri iddynt fyned heibio i rai pethau ynddo ef na fuasent yn eu goddef mor dawel mewn eraill; oblegid yr oedd Melanchthon yn ddyn yr oedd yn anhawdd i neb ei adnabod a pheidio ei garu a'i barchu.

Er hyny gwahanol iawn oedd y driniaeth a dderbyniodd Melanchthon oddiwrth ganlynwyr Luther am y deng mlynedd olaf o'i oes. Ar ol marwolaeth Luther aeth y blaid luosocaf yn fwy Lutheraidd na Luther ei hun. Codwyd athrofa yn Jena, gan Dduc Saxe Weimar, prif noddwr y Protestaniaid ar ol gwrthgiliad Maurice o Saxony, a llanwyd hon a gelynion mwyaf ffyrnig Melanchthon. Ysgrifenwyd yn ei erbyn yn y modd mwyaf gwenwynig gan un Flacius, yr hwn oedd wedi derbyn caredigrwydd mawr oddiar ei law, a'r hwn, fel y mae yn gysur meddwl, a gondemniwyd ei hun wedi hyny fel heretic. Rhoddwyd yr enw Dirgel-Galfiniaid i bawb oedd yn ochri at Melanchthon, a thaflwyd llawer o honynt i garcharau. Er mwyn gorfodi pawb i fod yn Lutheriaid perffaith cyhoeddwyd, dan nawdd Etholwr Saxony, yn 1576, yr hyn a elwid yn *Ffurf o Gytundeb*, yr hon oedd i roddi diwedd i bob dadl. Ond yr effaith fu, i'r eglwys Lutheraidd, yn y sŵn am athrawiaethau Luther, golli eu sylwedd i fesur mawr, a myned o hyd yn fwy ffurfiol a difywyd. Ceisiodd Arndt ei deffro trwy gyhoeddi ei lyfr rhagorol ar "Wir Gristionogaeth," yn 1605; ac ymddangosodd ynddi rai dynion anghyffredin yn y tymhor marwaidd hwn i ysgrifenu ar

bynciau duwinyddiaeth, yn enwedig John Gerhard, a Quenstedt: ond dyfnhau yr oedd y cysgadrwydd cyffredinol hyd tua 1670, pan y dechreuodd adfywiad grymus trwy offerynoliaeth Spener, a'r *Pietistiaid* fel y gelwid hwynt, yn mhen mwy na chan' mlynedd wedi marwolaeth Melanchthon. Yn y cyfamser yr oedd Calfiniaeth wedi ymdaenu i'r Iseldiroedd, i Ffrainc, ac hefyd i Brydain. Ac y mae ei llwyddiant yn mhob un o'r gwledydd hyny yn galw am ychydig sylwadau.

Yn yr Iseldiroedd yn enwedig y cododd rhai o'r ysgrifenwyr galluocaf yn erbyn ac o blaid Calfiniaeth. Yma y ganwyd Arminus yn 1560, yr hwn, er nad oedd yn haeddu ei gymharu mewn gallu â Chalfin, nac ychwaith â rhai o'i ganlynwyr ef ei hun, a gafodd gysylltu ei enw yn fwy arbenig na neb arall â rhai o'r athrawiaethau hyny yr oedd Calfin yn eu gwrthwynebu. Pa mor bell yr oedd efe ei hun wedi myned yn y cyfeiriad gwrth-Galfinaidd, nid yw yn hawdd penderfynu: oblegid nid oedd yn un o'r rhai mwyaf eglur i ddangos ei feddwl; ac y mae yn ammheus a oedd ganddo afael gref a sefydlog ar unrhyw bwnc. Yn hyn, o leiaf, yr oedd yn wahanol iawn i Calfin. Gyda golwg ar gyfiawnhad trwy ffydd y mae yn dweyd ei fod yn cydsynio â phob gair a ysgrifenodd Calfin ar y mater hwnw yn ei "Gorff Duwinyddiaeth." Ond y mae yn sicr fod cryn bellder rhyngddynt yn eu golygiadau ar bob un o'r athrawiaethau hyny a elwir y pum' pwnc, y rhai y galwyd Cymanfa Dort, yn 1618, i gael barn gyffredin yr eglwysi Protestanaidd arnynt. Yr oedd hen gewri y Diwygiad erbyn hyn wedi eu symud o faes y frwydr—Melanchthon wedi marw y flwyddyn y ganwyd Arminius; Luther, a Zuinglius, a Bucer, cyn hyny; Calfin, a Bullinger, wedi hyny; eu holynwyr cyntaf bron oll wedi myned, ac yn gyffredin wedi gadael rhai gwanach i lanw eu lle. Ac yn awr, yn yr Iseldiroedd, yn cynnwys Holland a rhan o Belgium, yr oedd y corff cryfaf o'r Duwinyddion Protestanaidd enwocaf yn yr oes hono i'w cael, y rhan fwyaf o honynt yn Galfiniaid trwyadl, fel eu tadau oedd wedi marw yn y wlad hono yn ferthyron, neu wedi hyny ar faes y gwaed, dros eu crefydd. Y canlyniad angenrheidiol oedd i'r Gymanfa yn Dort benderfynu o blaid Calfiniaeth. Gwnaeth y Gymanfa hono gymaint a allesid ddysgwyl; ond ychydig oedd yr effaith a gafodd ar y gwrthwynebwyr. Er fod Arminius wedi marw cyn y Gymanfa, yr oedd iddo ganlynwyr galluocach nag ef ei hun, ac yn eu mysg Episcopius a Grotius, y rhai a aethant yn mhellach nag ef oddiwrth Galfiniaeth, ac a geisiasant ysbeilio Cristionogaeth o'r prif athrawiaethau sydd yn ei gwahaniaethu oddiwrth bob cyfundraeth o foesoldeb Paganaidd. Dilynwyd hwy gan Limborch,

awdwr corff duwinyddiaeth Arminaidd, yn cynnwys braidd mwy o efengyl nag ysgrifeniadau Episcopius a Grotius. Yn yr ochr arall, y mwyaf gweithgar oedd Gomarus, prif wrthwynebwr Arminius; a'r mwyaf cyflawn o bob gwybodaeth oedd Voetius, gwrthwynebwr Des Cartes. Y mae amryw eraill y gellid eu henwi: ond o holl dduwinyddion yr Iseldiroedd, y mwyaf teilwng o sylw yw Cocceius, yr hwn, er na chreodd gyfnod newydd, a ychwanegodd ddrychfeddwl newydd at athrawiaeth y Diwygiad. Fel y mae y Dwyfol a'r dynol yn cydgyfarfod yn Mherson yr Arglwydd Iesu, felly yn ddiau y dylid credu eu bod yn cydgyfarfod yn yr holl drefn i godi pechadur trwyddo Ef. Yr oedd Luther wedi dangos y drefn o gyfiawnhad trwy ffydd. Yr oedd Calfin yn fwy neillduol wedi dangos y Dwyfol yn y drefn hon. Ac yna, yn yr hanner cyntaf i'r ail-ganrif-ar-bymtheg, taflodd Cocceius oleuni ar y dynol yn y drefn trwy ddwyn i'r golwg athrawiaeth y Cyfammodau. Mae y meddwl fod y Duw anfeidrol yn gosod y fath fawredd ar ddyn, ei fod yn ei godi i gyfammod ag ef ei hun, yn ymddangos i synwyr anianol yn anghredadwy; ac eto y mae yn wirionedd sydd yn rhedeg trwy yr holl Fibl. Gan fod yr athrawiaeth hon yn rhoddi y fath le uchel i ddyn yn nhrefn Duw, nid yw yn rhyfedd fod rhai o gydoeswyr Cocceius yn tybied ei fod yn gwyro at Arminiaeth. Yr hyn sydd yn wirioneddol ryfedd ydyw fod athrawiaeth y Cyfammodau yn cael ei gwrthod yn yr oes hon gan lawer o'r rhai hyny sydd yn fwyaf gelynol i Galfiniaeth, ac yn siarad mwyaf am allu dyn a'i hawliau. Ond yr oedd Cocceius mor bell oddiwrth Uwch-Galfiniaeth ag oddiwrth Arminiaeth. Yr oedd fel Calfin yn credu fod cadwedigaeth dyn yn hollol o Dduw; ond yr oedd yn rhoddi mwy o wedd ddynol a hanesiol i'r holl ddadguddiad dwyfol, ac ar yr un pryd yn ei godi yn uwch trwy ddangos yr undeb sydd rhwng yr holl ranau â'u gilydd fel dadblygiad cyson o gyfammod Duw, a Christ yn ganolbwynt y cwbl. Dilynwyd ef gan Witsius, Burmann, Van Til, a Vitringa.

Yn Ffrainc bu Protestaniaeth unwaith mor uchel fel yr oedd pob tebygolrwydd y byddai i'r wlad hono ymwrthod yn gyffredinol â Phabyddiaeth. Ond trwy greulonderau na chlybuwyd am eu bath, yn gysylltiedig â'r ddichell ddyfnaf, llwyddwyd i gadw y wlad yn Babaidd. Yr oedd Duc Alva wedi methu darostwng Protestaniaeth yn yr Iseldiroedd er iddo roddi deunaw mil i farwolaeth mewn un flwyddyn yn herwydd eu crefydd: ond aeth Catherine de Medici at y gorchwyl gyda mwy o gyfrwysdra. Penderfynodd wneuthur y gwaith yn gyflawn trwy ddyfetha pob Protestant oedd yn meddu dim dylanwad ar unwaith. Yn 1572

lladdwyd deg-a-thriugain o filoedd yn Paris yn unig, am yr hyn y cadwyd cyfarfodydd diolchgarwch yn Rhufain. Caniatâwyd rhyddid crefyddol drachefn yn 1598, gan Henry y Pedwerydd; ac aeth Protestaniaeth ar gynnydd hyd 1685, pan y diddymwyd pob goddefiad, ac y gorfu i wyth gan' mil adael eu gwlad. Y canlyniad naturiol i hyn fu y Chwyldroad. Ond yn yr ysbaid hwn o ryddid sefydlwyd athrofeydd, ac ymddangosodd yn Ffrainc rai o'r duwinyddion mwyaf doniol yn yr oes hono. Addefir hyn yn rhwydd gan bawb sydd wedi darllen ysgrifeniadau Amyrald a Daillé. Yr oedd y ddau yn cyfrif eu hunain yn Galfiniaid, ac yn ymwrthod yn hollol âg Arminiaeth. Ysgrifenodd Amyrald (neu Amyraut) amddiffyniad grymus i olygiadau Calfin; ac y mae yn amddiffyn hyd yn nôd ei farn am wrthodedigaeth, ar y tir fod gwrthodedigaeth yn anwahanol oddiwrth etholedigaeth. Ac eto cyhuddwyd ef fel gwrthwynebwr Calfiniaeth; ac am i Daillé ysgrifenu i'w amddiffyn, syrthiodd yntau dan yr un cyhuddiad. Yr oedd Calfiniaid y dyddiau hyny gan mwyaf yn ddynion cyfyng, rhagfarnllyd: ond yr oedd Amyrald a Daillé yn meddu ar feddyliau eangach, ac yn arfer edrych ar bob gwirionedd o fwy nag un cyfeiriad. Yr oeddynt yn credu fod Duw yn ewyllysio i bob dyn fod yn gadwedig, yn gystal â'i fod wedi ethol y rhai a gedwir. Tybient hwy eu bod yn cysoni y ddau trwy ddal fod Duw er tragywyddoldeb yn ewyllysio yr hyn oll a wneir ganddo mewn amser: gan ei fod yn rhoddi moddion gwybodaeth i bawb, ac yn galw ar bawb i edifarhau a chredu yr efengyl, fod yn rhaid ei fod er tragywyddoldeb yn ewyllysio hyny; ond gan mai rhan o ddynolryw a achubir, a chan mai gras Duw yw yr achos o'u hachubiaeth, fod yn rhaid i ni gredu fod ewyllys fwy neillduol yn Nuw i'r rhai hyny gael eu hachub. Mae yn anhawdd gweled yn mha beth y mae y golygiad hwn yn gwrthdaraw yr hen athrawiaeth Galfinaidd sydd yn gwahaniaethu rhwng yr ewyllys ddirgeledig a'r ewyllys ddadguddiedig. Y mae Amyrald yn dweyd hefyd fod dau fath o ras, yr allanol a'r tufewnol; ac mai gwreiddyn y cyfeiliornad o'r ddwy ochr oedd colli golwg ar y gwahaniaeth rhyngddynt: fod yr Arminiaid yn estyn y gras tufewnol i bawb, er mwyn ei wneyd mor helaeth â'r gras allanol; fod y Calfiniaid y dyddiau hyny yn cyfyngu y gras allanol i'r etholedigion, rhag ofn iddo fod yn helaethach na'r gras tufewnol; ond ei fod ef yn dilyn Calfin ei hun, yr hwn oedd yn barnu fod y gras allanol yn cael ei roddi i bawb, ond y gras tufewnol i'r etholedigion yn unig. Pa fodd bynag, ysgrifenwyd llawer yn erbyn y golygiadau hyn gan Du Moulin, Spanheim, Andrew Rivet, ac eraill. Gwnawd cais hefyd fwy nag unwaith i gael gan Gymanfa Ffrainc

roddi cerydd ar y ddau; ond yn aneffeithiol. Yr oll a wnaeth y gymanfa oedd eu cynghori i beidio arfer rhai ymadroddion oedd yn achlysuro camddealldwriaeth: ac nis gellir gwadu eu bod yn yr ystyr hwn, er yn ddynion da, yn sefyll mewn anghen am gynghor. Gwnaeth Daillé wasanaeth mawr mewn cyfeiriad arall trwy ei lyfr ar "*Yr iawn ddefnydd o'r Tadau.*'

Mewn perthynas i'r Diwygiad yn ei gysylltiad â Phrydain, mae yn hysbys fod Cranmer yn gohebu â Melanchthon, Calfin, a Bullinger, iddo eu gwahodd i Loegr, ac iddo lwyddo i gael gan Martin Bucer a Peter Martyr ddyfod yma i aros, y cyntaf yn Cambridge, a'r llall yn Rhydychen. Mewn llythyr a ysgrifenwyd at Bullinger yn 1552, gan Traheron, Llyfrgellydd y Brenin Edward, y mae yn dweyd, "Y nifer fwyaf yn ein plith ni, o'r rhai yr wyf yn addef fy hun yn un, ydynt yn cofleidio barn John Calfin, fel yn eglur ac yn fwyaf cyson â'r Ysgrythyr Sanctaidd. Ac yr ydym yn wir yn diolch i Dduw fod y traethawd rhagorol hwnw gan y tra dysgedig a rhagorol John Calfin, yn erbyn Pighius, ac un George Siculus, wedi dyfod allan yn yr adeg pan oedd y mater yn dechreu cael ei drafod yn ein plith." Ond os oedd y mwyafrif, fel y dywed y llythyr hwn, yn cofleidio barn John Calfin, y mae lle i feddwl am y rhai mwyaf eu dylanwad eu bod yn tueddu yn hytrach at Melanchthon a Bullinger. Mae yn debyg mai golygiadau Bullinger a gafodd fwyaf o effaith, o bawb tu allan i'r deyrnas hon, yn nghyfansoddiad Erthyglau Eglwys Loegr; ac ymgynghorid ag ef yn fynych mewn perthynas i faterion eraill. Pa fodd bynag, nid yw yn ymddangos fod mwy o wahaniaeth barn yn Eglwys Loegr am hir amser gyda golwg ar athrawiaeth nag oedd rhwng Calfin a Bullinger. Er fod y Puritaniaid o'r dechreu yn gwrthwynebu y seremonïau Pabaidd oedd yn aros yn yr Eglwys, eto ni chyfododd un ddadl rhyngddynt â'r Uchel-Eglwyswyr mewn perthynas i athrawiaeth hyd deyrnasiad Iago y Cyntaf. Yn amser Elizabeth cynnygiodd Barret yn Cambridge wrthwynebu Calfiniaeth; ond bu hyn yn achlysur i Whitgift, gelyn y Puritaniaid, yr hwn oedd ar y pryd yn Archesgob Canterbury, gyfansoddi naw o erthyglau, a adnabyddir dan yr enw "Erthyglau Lambeth," y rhai ydynt yn Uwch-Galfinaidd. Yn raddol y daeth y cyfnewidiad i fewn yn nheyrnasiad Iago y Cyntaf, yr hwn oedd yn bleidgar i Arminiaid yn ei wlad ei hun, er ei fod yn cynnorthwyo i'w herlid ar y Cyfandir. Ac yn nheyrnasiad Charles y Cyntaf, pan gafodd Laud y flaenoriaeth i'w law, gwnawd pob ymgais a ellid i ddifodi Calfiniaeth. Ond bu y cwbl yn aflwyddiannus. Yr oedd teimlad y wlad yn benderfynol o blaid yr athrawiaethau Calfinaidd; a rhoddwyd mynegiad ffurfiol i'r teimlad hwnw gan y Senedd

trwy alw ynghyd y Gymanfa fawr Buritanaidd, gan yr hon y cyfansoddwyd Cyffes Ffydd Westminster. Wedi marwolaeth Cromwell, a dyfodiad Charles yr Ail i'r orsedd, ciliodd yr elfen Buritanaidd bron yn hollol o Eglwys Loegr yn ymadawiad y ddwy fil Anghydffurfwyr oedd yn barnu fod cydwybodolrwydd yn rhywbeth amgen na thestyn gwawd: ac aeth ei duwinyddiaeth o hyny allan gydag ychydig iawn o eithriadau yn nes at Belagiaeth nag oedd duwinyddiaeth Arminius. Nid etholedigaeth yn unig a gollwyd, a pharhâd mewn gras, ond athrawiaeth fawr y Diwygiad Protestanaidd, sef cyfiawnhad trwy ffydd. Yr amcan erbyn hyn oedd, cael yr Eglwys yn ol i'r peth ydoedd cyn dyddiau Augustine, a gyru Puritaniaeth allan o'r byd. Ynfydrwydd fyddai ceisio haeru na fu duwinyddion o radd uwch na chyffredin yn Eglwys Loegr wedi hyny, rhai y mae pob dyn o chwaeth yn parchu eu coffadwriaeth, ac yn cael hyfrydwch wrth sylwi ar ragoriaethau llênyddol eu hysgrifeniadau. Y mae rhyw goethder yn perthyn iddynt, nad oes ond ychydig anghreifftiau o hono yn mysg yr Anghydffurfwyr. Er hyny, tra yn rhyfeddu at eu dysg a'u dawn, y mae un yn cael ei demtio weithiau i feddwl eu bod wedi derbyn eu syniadau crefyddol oddiwrth yr hen lyfrau Paganaidd a ddarllenasid ganddynt yn yr ysgolion. Mae yn debyg yr addefa pawb fod Jeremy Taylor a Bull yn gynnrychiolwyr teg o dduwinyddiaeth yr Eglwys Sefydledig yn yr amser y cyfeirir ato yma. Ac yn awr cymerwch Jeremy Taylor, ac er na ellwch beidio talu gwarogaeth iddo fel un o'r ysgrifenwyr mwyaf doniol, bydd yn rhaid i chwi gydnabod fod llai o efengyl yn ei holl waith nag a geir mewn rhai awdwyr Pabaidd; ac yn gyffredin, trwy gau allan athrawiaethau neillduol yr efengyl, y mae yn fwy peryglus, os oes modd, na phan y mae yn dywedyd yn uniongyrchol yn eu herbyn. Y mae Esgob Bull wedi ysgrifenu traethawd a gyfrifir gan lawer yn safon gyda golwg ar y pwnc o gyfiawnhad. Y mae yn addef fod y gair "cyfiawnhau" i'w gymeryd mewn ystyr gyfreithiol; ond am natur ffydd, ac am ei pherthynas â cyfiawnhad, y mae ei syniadau yn hollol Babaidd. Yn ol ei farn ef y mae ffydd yn cynnwys yr oll o ufudd-dod efengylaidd; ac nid yw Paul yn cau allan weithredoedd y ddeddf, ond yn unig fel yr oeddynt yn nghyfammod Moses. Swm ei gyfundraeth ydyw, nad oes un ffordd i ddyn gael ei gyfiawnhau ond trwy weithredoedd, fod gweithredoedd, nid yn arwyddion o ffydd, ond yn rhan arbenig o'r ammod a ofynir yn y cyfammod gras; ein bod yn analluog i roddi ufudd-dod perffaith i ddeddf Moses, ac am hyny fod Duw yn y cyfammod gras yn derbyn ufudd-dod efengylaidd: ac nad yw yr ufudd-dod hwn yn haeddu dim

ynddo ei hun, ond ei fod yn cael ei dderbyn er mwyn Crist. Y mae Bull yn dadleu ei fod yn y pwnc olaf hwn, gyda golwg ar haeddiant yr ufudd-dod, yn gwahaniaethu oddiwrth y Pabyddion, ond y mae y gwahaniaeth yn fwy mewn gair nag mewn sylwedd; oblegid pan y mae y Pabyddion yn esbonio eu hymadroddion, y maent yn dyfod i'r un man ag yntau.

Y mae tebygolrwydd ymddangosiadol, ond y mae gwahaniaeth hanfod-ol, rhwng y gyfundraeth hon a'r un a gafodd dderbyniad gan amryw o'r dynion goreu yn mysg yr Anghydffurfwyr, yr hyn a barodd iddynt gael eu galw yn Neonomiaid. Sylwedd y farn hono ydyw, fod ffydd yn am-mod y cyfammod gras; fod pob dyn yn amddifad o'r cyfiawnder y mae y ddeddf foesol yn ei ofyn; ond fod Crist wedi rhoddi boddlonrwydd per-ffaith i'r ddeddf foesol; ac yn awr fod deddf arall wedi ei dadguddio, sef deddf ffydd, yr hon nid yw yn gofyn dim ond i ni edifarhau a chredu yr efengyl mewn trefn i gael ein cyfiawnhau. Gellid meddwl mai rhywbeth fel hyn oedd golygiad Baxter, er fod yn anhawdd dywedyd yn bender-fynol, gan ei fod ef, yn ei frwydrau mynych, mor hoff o raniadau a gwa-haniadau annealladwy, mewn sylwedd yn gystal ag mewn ffurf. Bu dadl boeth ar y mater rhwng yr Uwch-Galfiniaid a Dr. Daniel Williams, Cymro o Wrexham, ac un a gyfrannodd yn haelionus at gynnal ysgolion i'r Cymry. Yr achos oedd fod Dr. Crisp yn dal fod yr etholedigion wedi eu cyfiawnhau pan fu Crist farw, fod Crist wedi cymeryd halogrwydd yn gystal ag euogrwydd pechod, a llawer o ymadroddion cyffelyb. Parodd hyn i Dr. Williams ysgrifenu o'r ochr arall i ddangos fod pob dyn yn euog nes y credo yn Nghrist, a'i fod hefyd yn euog am beidio credu os yw wedi clywed am Grist. A'r ffordd yr oedd yn ceisio profi hyn oedd trwy ddwyn ymlaen ddeddf ffydd, yr hon sydd yn cynnyg maddeuant i bawb ar yr am-mod o gredu ac edifarhau. Ysgrifenwyd yn ei erbyn gan Chauncy, ac ysgrifenodd yntau i amddiffyn ei hun. Y mae yn ymddangos oddiwrth yr hanes fod Howe yn cymeradwyo gwaith Dr. Williams: ac y mae yn debyg mai ychydig sydd i'w cael yn Nghymru y dyddiau hyn na chydna-byddant ei fod o leiaf yn nes i'w le na'r blaid wrthwynebol. Y mae llawer yn ymddibynu ar yr ystyr a roddir i ffydd. Os dywedir ei bod yn cyn-nwys cariad ac egwyddor sanctaidd, hyny yw, os gwneir hi mewn un modd yn weithred, dyma gyfiawnhad trwy weithredoedd: ac y mae yn rhaid addef fod Baxter yn ymddangos weithiau fel pe byddai yn ochri at hyny. Ond os gofalir am gadw ffydd a gweithredoedd yn wrthgyferbyniol i'w gilydd, ac os y cwbl a feddylir yw fod holl fendithion y cyfammod gras yn cael eu cynnyg i wrandawyr yr efengyl yn ddiwahaniaeth, fod Duw yn

gorchymyn iddynt eu derbyn, a'u bod hwythau yn euog tra yn byw mewn anghrediniaeth, y mae hyn oll yn berffaith wir. Ond yr oedd y Neonomiaid yn myned yn mhellach na hyn. Yn eu brwdfrydedd yn erbyn Antinomiaeth yr oeddynt yn gwneuthur ufudd-dod anmherffaith i ddeddf ffydd dan y cyfammod gras i gyfateb yn y pwnc o gyfiawnhad i ufudd-dod perffaith dan y cyfammod gweithredoedd. Nid oeddynt yn dal cyfiawnhad trwy weithredoedd; ac yn hyny yr oedd gwahaniaeth rhyngddynt ag Esgob Bull: ond sicr ydyw fod rhai o honynt yn tynu at y golygiad hwnw, ac yn dwyn cymysgedd i fewn i athrawiaeth fawr y Diwygiad, trwy ddysgu fod ffydd yn cyfiawnhau, nid fel y mae yn dwyn i undeb â Christ, ond fel y mae yn ufudd-dod i ddeddf neillduol. Gellir casglu hefyd fod athrawiaeth y cyfammodau, trwy gael ei chamddeall, wedi achlysuro y cyfeiliornad. Dywedir gan Dr. Williams, yn ei ragymadrodd i'r "*Gospel Truth*," fod y ddeddf yn cael ei chymeryd weithiau am y rhan orchymynol o ewyllys Duw fel y mae yn y cyfammod gweithredoedd: fod yr efengyl yn cynnwys y rhan orchymynol o'r ddeddf gyntaf, gyda rhai gorchymynion ychwanegol, megis ffydd ac edifeirwch: fod yr efengyl yn wahanol i'r cyfammod gweithredoedd yn yr awdurdodiad a roddir ganddi i'r rhan orchymynol o'r ddeddf; oblegid, er nad yw rheol dyledswydd wedi ei newid, eto y mae bendithion yn cael eu haddaw i raddau îs o ddyledswydd; fod rheol dedwyddwch neu drueni yn wahanol dan yr efengyl i'r hyn ydoedd dan ddeddf gweithredoedd, gan fod yr efengyl yn gosod allan wir edifeirwch a ffydd yn delerau maddeuant. Gwelir fod y desgrifiad hwn o'r ddau gyfammod yn tybied nad oes neb yn awr dan y ddeddf, ond fod pawb dan ras. Mae yn sicr fod Duw yn y cyfammod gras yn derbyn ufudd-dod anmherffaith: ond y gofyniad ydyw, Pa un ai dan ras ai dan y ddeddf y mae dyn cyn iddo gredu? Gwelir hefyd mai yr olwg uchaf ar gyfiawnhad trwy gyfrifiad o gyfiawnder Crist yw yr un sydd yn gwneuthur y drefn yn fwyaf rhydd i bawb, ac yn fwyaf agos at bawb. Os sonir am ffydd ac edifeirwch fel telerau y cyfammod gras, y mae dyn yn lle cael ei alw i fyned at Grist, fel y mae yn bechadur euog a thruenus, yn cael ei anfon i chwilio am gymhwysder ynddo ei hun. Gwelodd Hervey hyn ar ol cyhoeddi ei "*Theron and Aspasio*." Yn y ddau argraffiad cyntaf y mae yn dweyd mewn un man, fod Crist yn galw ar bawb sydd yn sychedu am fendithion teyrnas yr efengyl i ddyfod ato ef: ond yn y trydydd argraffiad y mae wedi newid y frawddeg, ac yn dweyd fod Crist yn galw ar bawb sydd yn sychedu am rywbeth i'w gwneyd yn ddedwydd. Y pwnc hwn hefyd oedd gwreiddyn llawer o'r ddadl a gododd yn Scotland yn achos y

llyfr buddiol hwnw, "*The Marrow of Modern Divinity.*" Tra y gofelir, fel y gwneir yn y llyfr hwnw, i ddangos fod yn rhaid i ni fyned at Grist, nid fel rhai wedi ein hargyhoeddi, neu wedi edifarhau, ond fel pechaduriaid, ac mai hyn yw ffydd, ni fydd y perygl lleiaf i ni fyned yn rhy bell i dir Neonomiaeth, er i ni alw ar bawb i gredu yn Nghrist.

Gyda golwg neillduol ar y mater hwn gellir ychwanegu y dyfyniad a ganlyn o waith Dr. Owen ar Gyfiawnhad.—"Nid ydym yn cydnabod dim fel ammod cyfiawnhad nad oes ganddo ddylanwad achosol i hyny, pe na byddai ond dylanwad offerynol. Hyn a briodolir genym i ffydd yn unig. Ac am ein bod yn gwneuthur felly, honir ein bod yn priodoli mwy i ni ein hunain yn ein cyfiawnhad nag a wneir ganddynt hwy sydd yn ein gwrthwynebu. Oblegid yr ydym ni yn hyn yn priodoli effeithiolrwydd offeryn i'n ffydd ein hunain, tra y maent hwy yn dweyd yn unig ei bod yn ammodol, neu "*causa sine qua non*" yn ein cyfiawnhad. Ond y mae yn ymddangos i mi na ddylai dynion call fod mor bleidgar yn amddiffyniad eu hachos, gan nas gallant lai na gwybod i'r gwrthwyneb. Oblegid wedi iddynt roddi yr enw golygus o ammod, neu "*causa sine qua non,*" i ffydd, y maent yn uniongyrchol yn cymeryd pob gras arall, a phob gweithredoedd o ufudd-dod, i'r un sefyllfa â ffydd, ac i'r un defnydd mewn cyfiawnhad; ac ar ol i'r aur ymddangosiadol hwn gael ei daflu am ychydig i dân dadleuaeth, y mae y llô o gyfiawnder personol a thufewnol yn dyfod allan, trwy yr hwn y cyfiawnhêir dynion ger bron Duw 'yn rhinwedd y cyfammod gras;' oblegid am gyfiawnder Crist i gael ei gyfrif i ni, y mae wedi myned i'r nefoedd, ac nis gwyddant pa beth a ddaeth o hono."

Ac yn awr, fel diweddglo i'r bennod hon, dichon y byddai sylw neu ddau yn fuddiol mewn ffordd o adgrynhôad. Yr oedd yr Eglwys Babaidd, ac y mae eto, yn hollol gyfeiliornus yn ei hatebion i'r ddau ofyniad, Pa beth yw cyfiawnhad? a Pha beth yw ffydd? Ac nid gormod fyddai dywedyd mai y gofyniadau hyn yw pegynau yr holl ddadl; yr hyn sydd un prawf yn mhellach o'r pwys sydd mewn iawn-ddeall ystyr geiriau. Yr oedd hyd yn nôd Augustine wedi camsynied am ystyr y gair cyfiawnhad, ac felly wedi ei wneuthur yn gyfnewidiad tufewnol, yn lle yn gyfnewidiad cyfreithiol yn mherthynas dyn â Duw: ac er fod ambell un cyn dyddiau Luther, wedi gweled fod yn rhaid i gyfnewidiad gymeryd lle ar achos dyn yn ei berthynas â Duw, fel sylfaen i'r cyfnewidiad ynddo ef ei hun, yr oedd yr Eglwys Babaidd yn gwrthod y gwirionedd; ac y mae llawer o Brotestaniaid yn methu ei ganfod yn ei bwysigrwydd, o ddiffyg syniadau goleu am anghyfnewidioldeb deddf Duw. Nid ydynt yn medru cymeryd

gafael mewn dim ond yr amserol a'r dynol, ac felly nis gallant feddwl am unrhyw gyfnewidiad oddieithr yn y dyn ei hun. Ond un gwasanaeth mawr a wnaeth y Diwygwyr oedd dangos fod deddf yn bod, ac am hyny fod ystyr i berthynas gyfreithiol, ac i gyflwr dyn yn ngwyneb y gyfraith. Dyma sylweddau y byd ysbrydol, ac y mae pob dyn sydd wedi dyrchafu ei feddwl uwchlaw gwrthddrychau daearol yn rhwym o deimlo fod iddo berthynas â deddf, a bod yn rhaid newid ei gyflwr ef yn ei berthynas a'r ddeddf, gan fod y ddeddf ei hun yn anghyfnewidiol. Y gofyniad arall ydoedd, Pa beth yw ffydd? Yr oedd yr Eglwys Babaidd, ac y mae eto, yn gwneuthur ffydd yn gymysgedd o gariad a gweithredoedd da, ac felly yn gwneuthur cyfiawnhad trwy ffydd yn gyfiawnhad trwy weithredoedd. Yn y golygiad anghywir hwn dilynir yr Eglwys Babaidd mewn amryw ffyrdd gan lawer o Brotestaniaid. Ond barn ddiysgog y Diwygwyr ydoedd, fod dyn yn cael ei gyfiawnhau, nid trwy weithredoedd, ac nid trwy ffydd a gweithredoedd yn gymysg, ond trwy ffydd yn unig; ac felly fod ffydd yn rhywbeth gwahanol i weithredoedd o bob natur; nad yw yn ddim ynddi ei hun, ac am hyny fod Crist yn bob peth ac yn mhob peth; ac felly fod cyfiawnhad trwy ffydd, am fod ffydd yn ymorphwys yn syml ar Grist, yn dwyn yr enaid i undeb ag Ef, yn derbyn y cwbl o hono Ef, yn rhoddi yr holl glod iddo Ef, yr hwn yw "Yr Arglwydd ein cyfiawnder."

---

## PENNOD XIII.

## Y DIWYGIAD METHODISTAIDD.

Olynwyr teilwng y Diwygwyr Protestanaidd oedd y Puritaniaid yn Eglwys Loegr, a'r Anghydffurfwyr, a'r blaid efengylaidd yn Scotland. Y mae hyn yn glod uchel; ac nid yw yn rhy uchel. Gwnaethant waith mawr, a hwnw y gwaith oedd yn angenrheidiol, trwy bleidio gwirioneddau y Diwygiad Protestanaidd yn erbyn yr hen gyfeiliornadau oedd o hyd yn

ymdrechu am oruchafiaeth. Ond ni fyddai yn gywir dywedyd iddynt roddi goleu newydd ar ran o athrawiaeth, nac iddynt fod yn offerynol i gychwyn un ysgogiad crefyddol. Y mae hanes yr Anghydffurfwyr hyny a elwir "Y Crynwyr" yn eithriad mewn ymddangosiad; oblegid yr oeddynt hwy yn ceisio codi yr hyn a ellid ei ystyried yn grefydd newydd, ac yr oedd rhyw ddarnau o wirioneddau gwerthfawr yn y grefydd hono: ond yr oedd y gwirioneddau hyny, fel yr oeddynt yn cael eu dysgu ganddynt hwy, yn rhy gymysglyd i wneuthur llawer o effaith parhaus; ac heblaw hyny, yr oedd eu tuedd gyffredin yn fwy at dynu i lawr yr hen na chodi i fynu y newydd. Pa fodd bynag, y mae yn sicr am y Puritaniaid a'r Anghydffurfwyr, mai eu harwyddair hwy oedd, "Gwell yw yr hen." Yr oedd hyn yn dda o fewn ei derfynau priodol. Ond y mae cysylltiad y dywediad hwn yn y Bibl yn dangos y gellir glynu wrtho yn ormodol; ac felly y gwnaeth y Puritaniaid a'r Anghydffurfwyr. O ddiffyg bywyd newydd, aeth eu crefydd mewn amser i fod yn gynnwysedig mewn nifer o bynciau yn y pen yn fwy na theimlad yn y galon. Y canlyniad oedd, eu bod yn raddol yn gwaelu ac yn gwywo. Y mae hyn yn ffaith mor ddiammheuol fel nas gall un dyn cydwybodol gynnyg eu gwadu. Ond yn y cyfwng hwn, pan oedd crefydd yn dihoeni, a phob math o annuwioldeb yn ei lawn rwysg, pan oedd nychdod cyffredinol wedi treiddio trwy fyd ag eglwys, "o diriondeb trugaredd ein Duw, ymwelodd â ni godiad haul, o'r uchelder." Daeth y Diwygiad hwnw i fod, yr hwn y mae yn rhaid ei alw yn Ddiwygiad Methodistaidd er mwyn ei adnabod, er y buasai yn fwy dymunol son am dano heb gysylltu wrtho enw unrhyw blaid neu bleidiau. Ond pa enw bynag a roddir arno, y gwirionedd ydyw, ac ni ddylai rhagfarn rwystro neb i'w gydnabod, na effeithiodd un diwygiad fwy ar y byd er dyddiau yr Apostolion. Ar y mater hwn y mae genym dystiolaeth un nas gellir ei gyhuddo o bleidgarwch at Fethodistiaeth, gan ei fod yn elyn i bob crefydd, ac yn fwy felly i'r crefyddau mwyaf efengylaidd, sef Buckle yn ei "*History of Civilization*," lle y mae yn dweyd fod y Diwygiad hwn wedi gwneuthur cymaint yn ei ddylanwad ar ddynolryw ag a wnaeth y Diwygiad Protestanaidd.

Er mwyn y rhai hyny nad ydynt yn arfer darllen, efallai y dylid sylwi, na feddylir yma am gyfyngu y Diwygiad hwn i'r Meth distiaid Calfinaidd mwy na'r Wesleyaidd, nac i'r ddau enwad yma gyda'u gilydd ar wahan oddiwrth yr Ymneillduwyr yn gyffredinol, nac ychwaith i'r Ymneillduwyr ar wahan oddiwrth yr Eglwys Sefydledig. Y mae yn hysbys ddarfod i'w effaith gyrhaedd i bob enwad Cristionogol yn y wlad

hon ac yn America, iddo roddi bywyd newydd yn yr Eglwys Sefydledig yn gystal ag yn yr Ymneillduwyr, ac i lawer a dderbyniasant ysbryd y diwygiad yn yr Eglwys hono aros ynddi, a ffurfio plaid efengylaidd o'i mewn, yr hon sydd yn myned ar gynnydd hyd heddyw, ac i'r hon nis gall pob gwir Brotestant lai na dymuno llwyddiant. Yn yr ystyr yma yn benaf yr effeithiodd dylanwad Whitefield, yr hyn sydd yn ei gwneuthur yn fwy anhawdd canfod ffrwyth ei lafur. Nid oedd ganddo ef ewyllys, a'r tebygolrwydd ydyw, nad oedd ganddo y gallu pe buasai yn ewyllysio, i ffurfio plaid wahanol o grefyddwyr. Ond pa le bynag y mae bywyd y dydd heddyw mewn cysylltiad â syniadau Calfinaidd, gellir olrhain y bywyd hwnw *mewn rhan* i George Whitefield; ac y mae y neb sydd yn cyfranogi o hono, ac yn gwadu y ffaith hon, yn debyg i un a fuasai yn rhwym draed a dwylaw, ac a ryddhâwyd gan ryw Samaritan trugarog, ac a ddefnyddiodd y rhyddid hwn i droi yn erbyn y sawl a ddatododd ei rwymau. Mewn rhan, cofier, a ddywedwyd, ac nid yn hollol oblegid nid yn unig yr Ysbryd Glân oedd yn defnyddio Whitefield; ond yr oedd, ar yr un pryd, yn codi eraill at yr un gwaith, fel yr oedd Luther a Zuinglius yn annibynol ar eu gilydd yn cychwyn y Diwygiad Protestanaidd. Ond yr oedd Whitefield yn gynnorthwyol iddynt oll, pa un bynag ai yn Lloegr, ai yn Nghymru, ai yn Scotland, ai yn America. Er hyny, mewn rhai ystyriaethau, yr oedd Wesley yn rhagori. Mae yn debyg mai prin y dysgwylia neb i ysgrifenydd y sylwadau hyn roddi y flaenoriaeth iddo gyda golwg ar gywirdeb athrawiaeth. Ond nid yw hyny yn un rhwystr iddo gydnabod ei synwyr cryf, ei ymroddiad penderfynol, ei dduwiolfrydedd cyson, a'i ddefnyddioldeb anghydmarol. Gwnaeth y ddau rhyngddynt, dan fendith yr Hollalluog, waith fydd yn para pan fydd gorchestion penaf eu diystyrwyr wedi eu hanghofio. O'r Diwygiad hwn y tarddodd y sefydliadau gwladgarol a'r cymdeithasau crefyddol sydd yn cyfansoddi prif hynodrwydd y ganrif hon. O'r ffynnonell hon y tarddodd y gweithgarwch hwnw sydd wedi rhoddi prawf amlwg fod nerth annherfynol yn perthyn i grefydd efengylaidd. Hyd hyny yr oedd gweithgarwch crefyddol yn ymddangos fel yn gysylltiedig yn fwy neillduol â'r eglwys Babaidd.

O angenrheidrwydd y mae pob dywediadau o'r fath yma i'w cymeryd mewn ystyr gymhariaethol. Pan ddarllenir am ryddid crefyddol a gwladol a ddaeth i feddiant y deyrnas hon trwy y chwyldroad yn 1688, nid oes neb yn tybied fod yr holl drigolion, na'r mwyafrif o honynt, yn byw mewn carcharau cyn dyfodiad William y Trydydd. Neu pan sonir am yr

adfywiad llenyddol a achoswyd trwy ddarganfyddiad y gelfyddyd o Argraffu, nid yw hyny yn cynnwys nad oedd llyfrau i'w cael yn y canoloesoedd. Felly wrth ddywedyd fod y Diwygiad Methodistaidd wedi creu cyfnod newydd mewn gweithgarwch crefyddol, ni feddylir mewn un modd am roddi ar ddeall nad oedd dim yn cael ei wneuthur hyd nes y cododd y Methodistiaid. Ac nid yn unig yr oedd dynion gweithgar yn bod cyn hyny; ond dylid cydnabod fod cysylltiad agos rhwng eu gweithgarwch hwy a'r Diwygiad Methodistaidd, fel y mae pob cyfnewidiadau yn cael eu rhagflaenu gan ryw achosion. Anhawdd yw penderfynu pa le yn fwyaf neillduol yr oedd yr achosion dynol o hono, pa un ai yn mysg yr Anghydffurfwyr ai yn yr Eglwys Sefydledig. Yn Nghymru, er enghraifft, mae yn ddiddadl fod Cradock ac amryw eraill yn mysg yr Anghydffurfwyr wedi effeithio llawer i'w ddwyn oddiamgylch. Er hyny mae yn ymddangos fod mwy o gysylltiad uniongyrchol rhyngddo â llafur Griffith Jones o Landdowror, yr hwn yn ddiau y dylid edrych arno fel un o brif ddiwygwyr Cymru. Yn Lloegr hefyd, gellid enwi gweinidogion duwiol y rhai oeddynt yn "Ddiwygwyr cyn y Diwygiad." Yn Germani yr ydym yn cael adfywiad lled gyffelyb o ran ei ansawdd i'r Diwygiad Methodistaidd mor foreu â'r ail-ganrif-ar-bymtheg, yn cael ei ddwyn ymlaen trwy Spener, ac yn enwedig Franke, y rhai ynghyd â'u canlynwyr a elwid yn "Pietistiaid." Ond yn mhen ychydig amser trôdd yr adfywiad hwnw allan i raddau mawr yn fethiant, trwy fod canlynwyr Spener a Franke yn amcanu mwy at ddystrywio nag at adeiladu. Ac felly, er iddo wneuthur lles mawr am ryw dymhor, nis gellir edrych arno ond fel rhagredegydd y Diwygiad Methodistaidd, yn yr un modd ag yr oedd Wickliff, Huss, ac eraill, yn rhagredegwyr i Luther. Yr oedd arwyddion ac achosion yn rhagflaenu y Diwygiad Protestanaidd, ond anghyfiawn fyddai cymeryd hyn yn rheswm i ddibrisio y gwasanaeth a wnaeth Luther i'r byd: ac mor anghyfiawn yw dwyn ymlaen reswm cyffelyb i geisio bychanu y Diwygiad Methodistaidd.

Ac yn awr, y mae yn bryd gofyn, Pa beth yw nod anghen y Diwygiad Methodistaidd yn ei berthynas a hanes Duwinyddiaeth? Nid yw mor hawdd ateb; ond y mae yn amlwg ar unwaith mai un peth a wnaeth y Methodistiaid oedd dangos fod teimlad mewn crefydd, neu yn hytrach fod crefydd yn gwreiddio yn y galon ac nid yn y deall yn unig. Dangosasant fod rhywbeth yn bod a alwent hwy yn "brofiad," ei fod yn beth mawr, y peth goreu mewn crefydd, er mai y tebyg iddo, hebddo ef ei hun, yw y peth gwaelaf. Dangosasant fod teimlad yn cynnyrchu gweithgarwch, a

bod yr hwn a welodd ei gyflwr ei hun yn llawn o awydd angherddol i achub eraill. Ond yr oedd hyn oll yn tarddu o ryw un gwirionedd mawr gwreiddiol; a'r gwirionedd hwnw ydyw *effaith gwaith Crist yn dufewnol*, neu waith yr Ysbryd Glân yn cyfnewid y galon. Yr oeddynt wedi eu dwyn i gredu fod yn rhaid i bob dyn gael tro, rhyw dro mawr i'w wneyd ar unwaith yn greadur newydd. Eu cenadwri fawr i'r byd oedd, Y mae yn rhaid eich geni chwi drachefn; ac aethant allan yn nerth Duw i bregethu y gwirionedd hwn i bob gradd o ddynion, i grefyddwyr cysglyd, i athronwyr dysgedig, i bendefigion a phendefigesau, ac i Phariseaid hunangyfiawn: ond nid oeddynt yn anghofio yr adnod arall yn ymddyddan Crist â Nicodemus, yr hon sydd yn dangos pa fodd y mae y cyfnewidiad yn cymeryd lle, sef trwy edrych ar Grist fel yr oedd plant Israel yn edrych ar y sarff bres; ac yr oeddynt yn galw y pechaduriaid mwyaf, pawb oedd yn flinderog a llwythog i ddyfod ato ef fel y caent orphwysdra i'w heneidiau. Mewn gair, os cyfiawnhad oedd pwnc mawr y Diwygiad Protestanaidd, felly pwnc mawr y Diwygiad Methodistaidd oedd ailenedigaeth. Ac y mae i sylwi arno fod tuedd gyffelyb yn y naill Ddiwygiad fel y llall i roddi pwys mawr ar sicrwydd. Fel yr oedd y Diwygwyr Protestanaidd yn dysgu fod credu yn cynnwys rhyw radd o sicrwydd, felly yr oedd y Methodistiaid cyntaf yn lled dueddol i feddwl fod gwaith yr Ysbryd Glân yn dwyn sicrwydd gydag ef. Mae yn ddiau fod y farn hon yn un o'r rhai mwyaf agored i gael ei chamddefnyddio. Er hyny, dichon fod yr hen Ddiwygwyr hyn wedi treiddio i weithrediadau y meddwl yn ddyfnach na llawer sydd yn hoff o feirniadu arnynt. Nid trwy ymresymiad y mae dyn yn dyfod i wybod pa beth sydd yn ei feddwl, ond trwy fod pob gweithred o eiddo y meddwl yn hunan-eglurhâol. Wrth gasâu y mae dyn yn gwybod ei fod yn casâu, ac wrth garu y mae yn gwybod ei fod yn caru. Felly yr oeddynt hwy yn tybied fod pob gweithrediad o eiddo yr anian sanctaidd yn yr un modd i ryw raddau yn hunan-eglurhâol. Ond gan nad pa un a yw hyn yn gysylltiedig â phob gwir gyfnewidiad ai peidio, y mae y ffaith yn aros, mai y gwirionedd mawr a ddygwyd ganddynt gyda grym a goleuni newydd ger bron y byd oedd Ailenedigaeth.

Gellir rhoddi gwahanol atebion i'r gofyniad, Pa beth sydd yn cyfansoddi darganfyddiad? Mewn rhyw ystyr y mae cymhwysiad newydd o hen wirionedd cyffredin, yn y fath fodd ag i ddangos fod ynddo fwy o bwysfawrogrwydd nag a welwyd o'r blaen yn ddarganfyddiad. Hyn yn benaf oedd y gwaith a gyflawnodd Luther. Yr oedd Bernard ac eraill wedi cael cipolwg ar y gwirionedd mai cyfnewidiad cyflwr ger bron Duw

ydyw cyfiawnhad, ac nid cyfnewidiad natur yn dufewnol, yr hyn yw y gwahaniaeth rhwng golygiadau Luther ac Augustine; ond methasant â'i weled yn ddigon eglur i'w ddangos i eraill, nac i ddal gafael ynddo eu hunain; ac ni ddygwyd ef i'r golwg yn yr arbenigrwydd sydd yn perthyn iddo hyd amser Luther. Yn yr ystyr yma, o leiaf, gellir dweyd fod y goleuni a daflwyd gan y Diwygiad Methodistaidd ar y pwnc o Ailenedigaeth yn ddarganfyddiad. Ond heblaw hyny, efallai pe edrychid yn bwyllog y gwelid eu bod hefyd wedi dwyn allan ddrychfeddwl newydd yn y pwnc o gyfnewidiad ar unwaith yn lle cyfnewidiad graddol. Yr oedd hwn yn feddwl oedd yn taraw yr oes hono â dychryn, meddwl fod un yn myned i wrandaw y bregeth yn ddyn annuwiol, ac yn myned adref yn ddyn duwiol, meddwl ei fod mewn moment yn cael eu wneuthur yn ddyn arall. Yr oedd yn llawer mwy peth na gwneuthur gwyrthiau, yn ystyr gyffredin y gair. Ac os darllenir yr awdwyr mwyaf efengylaidd oedd wedi ysgrifenu cyn hyny ymddengys fod y meddwl hwn yn ddieithr iddynt. Diammheu fod rhai eithriadau, fel yr oedd gyda golwg ar gyfiawnhad cyn amser Luther. Ond yn y cyffredin y maent yn edrych ar ailenedigaeth fel adferiad graddol i ddelw Duw, neu ynte fel dechreuad sancteiddhad; yn lle ystyried fod ailenedigaeth yn gwneuthur dyn ar unwaith yn greadur newydd, fel y mae cyfiawnhad yn ei godi ar unwaith i sefyllfa newydd yn ei berthynas â'r ddeddf; er fod anghen am sancteiddio ar ol aileni, fel y mae anghen am faddeuant ar ol cyfiawnhau. Y mae llawer wedi gwneuthur camddefnydd o'r athrawiaeth hon; ond nid yw hyny yn ddigon o reswm yn ei herbyn, mwy nag yn erbyn yr athrawiaeth o gyfiawnhad trwy ffydd. Ac o'i hiawnddeall y mae yn effeithio i gynnyrchu gwyliadwriaeth sanctaidd, gan ei bod yn myned dan wraidd y dyb gyfeiliornus y gall dyn fod wedi ei aileni pan nad yw wedi ei gyfnewid yn llwyr o ran ei egwyddor lywodraethol.

Ond yr hyn sydd wedi'r cwbl yn profi yn fwyaf amlwg fod angenrheidrwydd am ddwyn yr athrawiaeth hon i sylw mwy arbenig, ac yn dangos mwyaf o werth yn yr hyn a wnaeth y Diwygiad Methodistaidd, ydyw ystyriaeth o'r gred gyffredin oedd wedi ffynu yn yr Eglwys Gristionogol o barth ailenedigaeth mewn bedydd. Nid yn unig dyma oedd cred pawb hyd amser Luther, ond dyma oedd cred Luther ei hun; yr hwn oedd yn myned yn mhellach yn ei ddyddiau olaf nag yn ei ddyddiau boreuaf, nes yr aeth o'r diwedd i gredu fod y dwfr yn cael ei gyfnewid yn gystal â'r bedyddiedig. Nid oes un dyn ystyriol na chydnebydd fod y mater hwn yn amgylchedig gan anhawsderau. Y mae yn anhawdd peidio meddwl

fod yr Ysgrythyr yn ein dysgu i obeithio am fendith ysbrydol i'r bedyddiedig. Ond nid oes mwy o wahaniaeth rhwng goleuni a thywyllwch nag sydd rhwng hyn a'r gred fod y weithred o fedyddio ynddi ei hun yn *sicrhau* ailenedigaeth. Yr un peth fyddai ymresymu oddiwrth y cysylltiad rhwng y gair ag ailenedigaeth fod pob un sydd yn gwrandaw y gair yn cael ei aileni. Ac eto y mae pob sicrwydd mai hyn oedd y gred gyffredin yn Eglwys Loegr pan gododd y Methodistiaid. Nid eir yn ol yma at y y "*Llyfr Gweddi Gyffyedin*" i brofi y gosodiad hwn: oblegid y mae llawer o ddynion cydwybodol yn barnu nad yw yr athrawiaeth hon yn cael ei dysgu ynddo; ac ni ddymunir dwyn dim i mewn yma ag y gall fod dadl yn ei gylch. Ond edrycher pa beth oedd barn yr holl awdwyr doniol hyny; y rhai, y mae pob dyn yn meddwl am danynt pan sonir am dduwinyddion Eglwys Loegr, a'r rhai a gydnabyddir yn gyffredin fel ei chynnrychiolwyr. Rhoddir yma ychydig ddyfyniadau fel anghreifftiau.

ANDREWS.—"Ac am hyn [sef rhinwedd yr Ysbryd Glân] y gweddïa Crist; fel y pryd hwnw y byddai i hyny, fel y byddai iddo y pryd hwnw, ac y byddai iddo o hyny allan, gael ei gysylltu â rhinwedd y dwfr. Nid yn ei fedydd ef yn unig, ond yn medydd ei bobl; ac (fel y mae efe ar ol hyn yn helaethu ei weddi) yn medydd pawb eraill rhagllaw "a gredant yn ei enw Ef:" fel y byddai yn yr eiddo hwythau oll yr hyn oedd (yma) yn yr eiddo Ef; yn y rhai a ddilynent yr hyn oedd yn hwn yn gyntaf; yn mhob cristion yr hyn oedd yn medydd Crist; fel yr agoro y nefoedd, ac y disgyno yr Ysbryd Glân, ac y rhyngo bodd i'r Tad ddywedyd yr un geiriau drosodd drachefn, mor fynych ag y dygir plentyn unrhyw gristion i gael ei fedyddio."

JACKSON.—"Nid yw yn un rhan o ddysgeidiaeth na meddwl yr Eglwys, fod golchi neu daenellu cyrph babanod â dwfr cysegredig i dynu ymaith bechodau trwy ei rinwedd uniongyrchol ei hun. Y mae haeru hynyna, fel y syniaf fi, yn gwrthddywedyd yr athrawiaeth apostolaidd hono. 'Cyffelybiaeth gyfatebol i'r hwn sydd, yr awrhon, yn ein hachub ninnau, *sef* bedydd (nid bwrw ymaith fudreddi y cnawd, eithr ymateb cydwybod dda tuag at Dduw) trwy adgyfodiad Iesu Grist, yr hwn sydd ar ddeheulaw Duw wedi myned i'r nef,' &c. 1 Petr iii. 21. Nid yw yr Eglwys yn bwriadu dim yn mhellach na hyn: Os gweinyddir yn gyfreithlawn sacrament y bedydd, fod gwaed, neu aberth gwaedlyd Crist, neu (yr hyn sydd o'r un ystyr) fod dylanwad ei Ysbryd yn gysylltiedig, neu yn gydfynedol â'r weithred ddifrifol hon. Ond pa un a ydyw y dylanwad hwn

o eiddo ei Ysbryd neu bresenoldeb rhinweddol ei gorph a'i waed yn terfynu yn uniongyrchol neu yn gwbl yn enaid ac ysbryd y bedyddiedig, neu a ydyw yn meddu rhyw dylanwad rhinweddol ar ddwfr y bedydd fel moddion i drosglwyddo y gras o adenedigaeth i enaid y bedyddiedig, tra y tywelltir y dwfr arno, sydd ofyniad rhy fanwl a chywrain, yn yr oes hon, i Gristionogion difrifol ddadleu ac ymryson yn ei gylch. Digon yw credu fod yr ammod sacramentaidd hwn yn cynnwys presennoldeb rhinweddol gwaed Crist, neu ryw ddylanwad gwirioneddol oddiwrth ei gorph, yr hwn sydd yn gydfynedol ag ef, er nad ydyw wedi ei gydsylweddu iddo, yr hyn a ddangosir neu a arwyddocêir trwy olchiad neu daenelliad y corph â dwfr.

"Ond bydd rhywrai, neu yn hytrach, y mae rhai yn gwrthddadleu (ond nid ydynt oddieithr rhai dynion unigol o ysbryd haerllug), pe byddai athrawiaeth yr Eglwys yn wir a diymod y dylai pawb a fedyddir yn iawn fod yn ddiammheuol gadwedig, gan eu bod unwaith wedi eu golchi neu eu glanhau oddiwrth eu pechodau. Buasai rhyw rym yn yr wrthddadl pe buasai Eglwys Loegr yn dal, ac yn honi y cyfryw athrawiaeth a syniadau ag a honir gan y rhai sydd yn llunio neu yn cefnogi yr wrthddadl; sef, mai pechodau yr etholedigion yn unig a faddeuir yn y bedydd, neu yn sacrament corph a gwaed Crist; neu, nad ellir maddeu drachefn y pechodau a faddeuwyd unwaith; neu, nas gall yr hwn y maddeuwyd ei bechodau, y rhai a gyflawnodd o'r blaen, ar ol hyny gael ei gondemnio. Y gwirionedd uniongred ydyw hwn, er fod pechod gwreiddiol y plant a iawn fedyddiwyd yn enw Crist, neu bechodau gweithredol dynion ieuaingc neu hŷn a fedyddir felly, ynghyd â phechodau eu cyndadau (cyn belled ag y perthyna i ddynion mewn oed edifarhau am y naill a'r llall), yn cael eu maddeu mor wirioneddol yn y bedydd, fel nad ellir ailfedyddio dynion ieuaingc, na hen; eto, y mae yn bosibl, ac yn ddyledus, yn ol cyfraith Duw ac eglwys Crist, mynychu yr ammod o gydwybod dda, yn yr hyn y mae, fel y dywed St. Petr, y bedydd tumewnol yn gynnwysedig."

Laud.—"Yn gyntaf, fod bedydd yn angenrheidiol er achubiaeth babanod (yn null cyffredin yr Eglwys, heb rwymo Duw i ddefnyddio moddion y sacrament hwnw, i'r hwn y mae efe wedi ein rhwymo ni) a fynegir yn St. Ioan iii, 'Oddieithr geni dyn o ddwfr, &c.' Felly, heb fedydd, heb fynediad i mewn. Ac nis gall babanod ymwthio i mewn trwy unrhyw ddull cyffredin arall. A hon ydyw y farn a gymeradwyir gan holl Eglwys gyntefig Crist."

BRAMHALL.—"Yn ail, yr ydym yn gwahaniaethu rhwng yr arwydd gweledig a'r gras anweledig; rhwng y golchiad sacramentaidd allanol, a gras y sacrament, hyny yw, yr adenedigaeth tumewnol. Yr ydym yn credu, fod pwy bynag a dderbyn y cyntaf, yn derbyn yr olaf hefyd; oddieithr iddo attal rhinwedd y sacrament trwy ei anffyddiaeth neu ei ragrith, yr hyn y mae plentyn yn analluog i'w wneuthur. Ac am hyny y mae ein Gwasanaeth yn ein dysgu fod plentyn a fedyddir, ac a fydd marw cyn cyflawni pechod gweithredol, yn ddiammheuol gadwedig."

TAYLOR.—"Yn drydydd, mewn bedydd ni a dderbyniwn ailenedigaeth; ac am hwn y mae anghen ar fabanod yn eu hamgylchiadau presennol, a hyny am yr un rheswm mawr ag y mae anghen am dano ar ddynion mewn oed a synwyr. Canys y mae ein genedigaeth naturiol, naill ai o hono ei hun yn annigonol, neu yn cael ei wneuthur yn gyfryw trwy gwymp Adda a'r drygau a'i dilynodd, fel nas gall natur yn unig, neu ein genedigaeth gyntaf, ein dwyn i'r nefoedd, yr hwn sydd amcan goruwch-naturiol, hyny yw, amcan uwchlaw holl allu natur, fel yn awr y mae. Gan hyny, os na all natur ein dwyn i'r nefoedd, rhaid i ras ein dwyn, onidê nis gallwn byth fyned yno; os yw yr enedigaeth gyntaf yn analluog, rhaid wrth ailenedigaeth; ond yr ailenedigaeth y sonir am dano yn yr Ysgrythyr yw bedydd; "rhaid geni dyn o ddwfr ac o'r ysbryd." Ac oherwydd hyn y mae bedydd yn "olchfa yr adenedigaeth." Wrth hyn, un ai y mae yn anmhosibl i fabanod fyned i'r nefoedd trwy un llwybr y gwyddom ni am dano, neu y mae yn rhaid eu bedyddio."

HEYLIN.—"Yn yr hon, [Erthygl y 27ain] er mwyn na bo neb yn gwrthddadleu, fel y gwnaeth Dr. Harding yn erbyn Esgob Sewell, ein bod ni yn gwneyd bedydd yn ddim ond arwydd o adenedigaeth, ac na feiddiwn ddywedyd, fel y mae yr Eglwys Gatholig yn ein dysgu, yn unol â'r Ysgrythyr Lân, 'fod pechodau yn, a thrwy fedydd, yn cael eu maddeu a'u tynu ymaith yn gyflawn a gwirioneddol," ni a atebwn gyda'r Esgob parchedicaf a dysgedig uchod, (gŵr a ddeallai yn dda beth a amcanai yr Eglwys), Ein bod ni yn cyffesu, fel ag yr oeddym bob amser yn dysgu, fod maddeuant o bob math ar bechodau yn cael ei roddi yn sacrament y bedydd, trwy farwolaeth a gwaed Crist; a hyny, nid yn hannerol, neu yn rhanol, neu mewn dychymyg a thybiaeth, ond llawn, cyfan, a pherffaith faddeuant o'r cwbl ynghyd; ac os haera neb nad yw bedydd yn rhoddi llawn faddeuant o bechodau, nad ydyw hyny yn rhan na chyfran o'n dysgeidiaeth ni."

BARROW.—"Yn fyr, pa syniad bynag a goleddir gan ryw ychydig o

ddynion neu sectau distadl (megis y Pelagiaid gynt, y Sociniaid yn awr), yr athrawiaeth a draddodid yn gyson, a chyda chydsyniad tra chyffredinol ydyw, fod Duw yn ddiammheuol yn cyfranu ei Lân Ysbryd i bawb a gymeradwyir yn aelodau o Gristionogaeth trwy ddefod sanctaidd a dirgeledig o fedydd, ac a dderbynir i gymmun corph Crist, gan eu nerthu i gyflawni yr ammodau o dduwioldeb a rhinwedd yr ymgymerasant y pryd hwnw â hwynt; gan oleuo eu meddyliau, unioni eu hewyllysiau, puro eu serchiadau, eu cyfarwyddo, a'u cynorthwyo yn eu hymarweddiad."

PEARSON.—"Y mae yn sicr fod maddeuant pechodau wedi ei addaw i bawb a fedyddiwyd yn enw Crist; ac nis gellir ammheu nad oedd pawb a gyflawnent yr holl bethau angenrheidiol mewn trefn i dderbyn yr ordinhad o fedydd, yn derbyn hefyd y lles oddiwrth yr ordinhad, sef *maddeuant pechodau.*"

BEVERIDGE.—"Ond yn y dyddiau hyn y mae rhai yn codi ammheuaeth yn nghylch ystyr yr ymadrodd 'geni o ddwfr ac o'r Ysbryd:' yn y dyddiau hyn, meddaf, canys nid oedd neb yn codi ammheuon yn ei gylch hyd y blynyddoedd diweddaf. Am oesau lawer ynghyd nid ammheuai neb, ond cymerid ef yn ganiatâol gan yr holl fyd Cristionogol mai meddwl ein Gwaredwr, yn y geiriau hyn, oedd yn unig nad all neb, oni fedyddir ef yn ol ei osodiad Ef, fyned i mewn i deyrnas Dduw; gan mai hwn ydyw yr ystyr mwyaf eglur ac uniongyrchol sydd i'r geiriau, oherwydd nad oes un llwybr arall i ddyn gael ei aileni o ddwfr, yn gystal ag o'r Ysbryd, oddieithr yn unig yn sacrament y bedydd."

SHERLOCK.—"Trwy fedydd agorir pyrth y nefoedd i ni, a phalmentir y ffordd i ni i ddychwelyd i'n gwlad enedigol. Trwy fedydd eglurir ein bod y fath feibion i Dduw ag yr ymddigrifa Efe ynddynt, ac a esyd Efe yn etifeddion ei deyrnas. Trwy fedydd y derbyniwn addewid yr Ysbryd, trwy yr hwn yr ydym yn llefain, Abba, Dad."

WATERLAND.—Yn ail, gyda golwg ar fabanod. Y mae eu diniweidrwydd a'u hanallu hwy iddynt yn lle edifeirwch, am yr hwn nid oes anghen arnynt, ac yn lle ffydd weithredol, yr hon nis gallant ei meddu. Y maent yn alluog i gael eu geni yn achubol o ddwfr ac o'r Ysbryd, ac o dderbyn y mabwysiad ynghyd â'r hyn sydd yn ymddibynu arno; oherwydd, er nad ydynt yn dwyn rhinweddau gyda hwynt, na chyfiawnder cadarnhâol, eto nid ydynt yn dwyn unrhyw attaliad neu rwystr. Y maent yn ammodi ac yn cytuno, trwy eu meichiau, â chydsyniad rhagolygol a thybiedig; cysegrir hwynt trwy ffurf ddifrifol i'r Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân; trosglwyddir iddynt faddeuant, trugaredd, a rhagorfreintiau cyfammodol

eraill; a symudir hwynt gan yr Ysbryd Glân o'u cyflwr naturiol (yr hwn sydd dan felldith) i gyflwr o ras, ffafr, a bendith; hwn yw eu hadenedigaeth."

HORNE.—" Cyfrenir y rhan gyntaf o ras sancteiddiol mewn bedydd, yr hwn yw insel cyfiawnhad a dechreuad sancteiddhâd; yn gymaint a bod y pechadur, trwy gael ei gladdu fel hyn mewn sacrament gyda Christ i'w farwolaeth Ef, yn cael ei adgyfodi gydag Ef yn ngrym ei adgyfodiad Ef, wedi ei gyfiawnhau oddiwrth euogrwydd pechod, trwy edifeirwch a ffydd yn ei waed Ef, a'i adnewyddu i sancteiddrwydd trwy weithrediad ei Ysbryd Ef. Gelwir yr adnewyddiad cyflawn hwn a gyfrenir yn gyntaf yn ngolchfa y bedydd, yn *adenedigaeth*, ac y mae yn cyfateb mewn pethau naturiol i enedigaeth baban."

Pe na buasai y Methodistiaid cyntaf wedi gwneuthur dim ond gwrthdystio mewn modd effeithiol yn erbyn y cyfeiliornad dinystriol hwn, buasai eu henwau yn deilwng o goffadwriaeth parchus. Ond nid gwrthdystio yn unig a wnaethant, eithr fel Luther yn y Diwygiad arall, dygasant y gwirionedd gwrthgyferbyniol i'r golwg yn ei bwysfawredd a'i arbenigrwydd. Yr oedd gwahaniaeth yn eu plith hwy eu hunain mewn rhai pethau, a chododd dadleuon blinion rhyngddynt a'u gilydd, fel y mae yn hysbys: oblegid y mae yn ymddangos nas gellir dwyn gwirioneddau yr efengyl i sylw neillduol, nad ydynt yn fuan yn arwain i ymchwiliadau am etholedigaeth ac anallu dyn; ac efallai cyn diwedd y bydd y ddadl wedi tynu y dadleuwyr i'r llynclyn hwnw, dechreuad drwg moesol. Er fod ymryson yn well na heddwch y bedd, eto gwell fuasai iddynt feddwl mwy am y pethau yr oeddynt yn cytuno ynddynt. Gwnaeth y ddadl ddrwg mawr yn Lloegr trwy beri i lawer dybied o'r ddwy ochr mai goreu po bellaf y byddant yn eu barn oddiwrth eu gwrthwynebwyr. Pe buasent yn deall, efallai, eu bod yn nes at eu gilydd nag oeddynt at y pleidiau eithafol ar bob llaw: oblegid yr oedd gwahaniaeth dirfawr rhwng y Methodistiaid Calfinaidd, a'r blaid Uwch-Galfinaidd o'r Anghydffurfwyr; ac yr oedd gwahaniaeth rhwng y Methodistiaid Wesleyaidd a'r Pelagiaid yn yr Eglwys Sefydledig. Gadawsant hwy, fel eraill o'u blaen, y ddadl heb ei gorphen: ond gwnaethant y gwaith yr oedd eu Harglwydd wedi ei ymddiried iddynt. Nid penderfynu holl ddadleuon yr oesoedd oedd dyben mawr y Diwygiad: ond yr oedd ganddynt genadwri; yr oedd ganddynt wirionedd yn cyfateb i anghen y byd, ac yr oedd cyflawnder yr amser wedi dyfod i ddwyn y gwirionedd hwnw allan yn ei lawn ddys-

glaerdeb a'i nerth. Ar ryw olwg nid oedd y gwahaniaeth ond bychan rhwng eu dull hwy yn ei ddangos a'r dull yr oedd llawer o'u blaen yn edrych arno. Ond gellir dywedyd yr un peth am y gwahaniaeth rhwng Luther ac Augustine: a gellir dywedyd yr un peth am bob Diwygiwr, ac am bob darganfyddwr. Er nad oedd y gwahaniaeth ond dibwys mewn ymddangosiad, rhyw gwmwl bychan fel cledr llaw gŵr, yr oedd rywfodd yn ddigon i gynnyrchu effeithiau mawrion. Pa le bynag yr aent, yr oedd eu gweinidogaeth yn fywyd o feirw, i'r eglwys yn gystal â'r byd. Nid yw hyn yn cael ei ddweyd oddiar deimlad pleidgar, ac nid oes lle i'r cyfryw deimlad ddyfod i fewn yn y mater hwn o gwbl: oblegid yr oedd y Diwygiad Methodistaidd yn ddiwygiad cyffredinol; ac wrth sôn am dano, nid oes gan unrhyw blaid hawl i gau neb allan, ond y rhai hyny sydd yn dangos yn amlwg eu bod heb gyfranogi o'i effeithiau.

Wrth gymeryd golwg fel hyn ar y symudiad yn ei ehangder fel y mae yn dwyn perthynas â'r byd yn gyffredinol, ac nid â phleidiau neillduol, gwelir ei fod yn cymeryd i mewn y prif ysgrifenwyr efengylaidd yn y ganrif ddiweddaf, nid yn unig yn y wlad hon, ond hefyd yn America; oblegid mae yn hysbys iddo gyrhaedd y tu draw i Fôr y Werydd, a chynnyrchu effeithiau grymus yno trwy offerynoliaeth Whitefield a Jonathan Edwards. Er cymaint a ysgrifenwyd mewn perthynas iddo, ni cheir hyd heddyw ddesgrifiad mwy cywir o'i natur, na sylwadau gwell arno, nag a roddwyd gan Jonathan Edwards; ac efallai nad anmhriodol fyddai dywedyd mai efe, mewn modd arbenig, oedd duwinydd y Diwygiad hwn; oblegid yn ei draethodau ef ar y Diwygiad, ac ar Serchiadau Crefyddol, gellir gweled pa beth ydyw hanfod Methodistiaeth. Mae yn wir nad oes un gwahaniaeth sylfaenol rhyngddo ef â'r duwinyddion goreu yn mysg y Diwygwyr Protestanaidd a'r Puritaniaid, yn enwedig Calfin a Dr. Owen. Yr oedd Calfin yn llwyr ymwrthod â'r farn Babaidd am ailenedigaeth; ac un peth sydd yn dangos mawredd Calfin yw ei ragoriaeth ar Luther yn ei olygiad ar y pwnc hwn. Y mae Dr. Owen hefyd wedi ysgrifenu arno yn eglur a helaeth yn ei draethawd ar "Waith yr Ysbryd Glân." Er hyny, y mae rhyw newydd-deb yn yr olwg a gymerir gan Jonathan Edwards ar y mater, yn tarddu o wahaniaeth y safle o'r hwn y mae efe yn edrych arno. Cyn hyny yr oedd y duwinyddion goreu yn edrych ar y pwnc hwn, yr un modd a phob pwnc arall, yn fwyaf neillduol yn ei wedd wrthddrychol; hyny ydyw, fel y mae yn rhan o gyfundrefn y tu allan i ddyn. Yr oedd y rhai goreu o'r Puritaniaid yn rhy dueddol i edrych

ar ailenedigaeth fel gras nad oedd gan ddyn ddim i'w wneuthur yn uniongyrchol tuag at ei gael. Er ei fod ganddynt yn y pwnc, nid oeddynt yn ei ddwyn i berthynas ymarferol â dyn syrthiedig, ac nid oeddynt yn dangos yn ddigon goleu fod ailenedigaeth yn gyrhaeddadwy i'r mwyaf anhaeddiannol, nid trwy iddo ar un llaw geisio newid ei hun, na thrwy iddo aros ar y llaw arall i ddysgwyl am ryw dro oddiuchod, ond trwy fyned ar unwaith yn bechadur at Grist am ei fywyd. I'r gwrthwyneb, y mae Jonathan Edwards, yn gyffelyb i holl Ddiwygwyr yr oes hono, yn tueddu i edrych ar bob canghen o athrawiaeth o ryw bwynt tufewnol, ac i'w dangos fel y mae yn dwyn perthynas â chyflwr dyn. Hyd yn nod arfaeth a brofir ganddo trwy ymresymiadau dyfnion am ewyllys dyn, tra yr oedd eraill wedi cesio profi caethiwed yr ewyllys oddiwrth yr athrawiaeth am arfaeth; ac wrth draethu ar gyfiawnhad trwy ffydd, y mae yn dwyn yr iachawdwriaeth, yn cynnwys ailenedigaeth a phob bendith ysbrydol, i gyrhaedd pob dyn, trwy ddangos fod Duw yn cyfiawnhau yr annuwiol, nid un a fu rywbryd yn annuwiol, ond un a olygir yn annuwiol hyd nes y mae yn cael ei gyfiawnhau. Yr oedd yma oleuni ychwanegol ar yr athrawiaeth, trwy fod ailenedigaeth yn cael ei ddwyn i gysylltiad agosach â chyflwr ac â rhwymedigaethau dyn annuwiol. A dyma yr athrawiaeth a effeithiodd yn yr oes hono i droi dynion wrth y miloedd, yn Lloegr, Cymru, a Scotland, yn gystal ag yn America.

Ond nis gellir gwadu fod yn bosibl i ni gyfyngu ein hunain yn ormodol at y tufewnol. Dyma berygl neillduol y mae Methodistiaeth yn agored iddo. Cafodd Jonathan Edwards lawer o ofidiau oddiwrth y duedd hon yn ei ddyddiau ef, ac ysgrifenodd yn egnïol yn ei herbyn. Cwynir yn fynych oherwydd yr un peth yn llythyrau Howel Harris. Y mae yr un duedd yn ein dyddiau ninnau yn arwain lluaws o grefyddwyr i chwilio am deimladau ynddynt eu hunain fel cymhwysder i fyned at Grist, ac i orphwys ynddynt ar ol eu cael fel pe byddent yr oll o grefydd. Y mae hyn yn gyfeiliornad dyblyg; oblegid y mae yn rhoddi teimlad yn lle ffydd yn y cyfiawnhad, ac y mae yn rhoddi teimlad gau yn lle teimlad gwirioneddol yn y sancteiddhad. O undeb â Christ trwy ffydd y mae pob teimlad sanctaidd yn tarddu; ac nid oes un teimlad yn wirioneddol sanctaidd os na fydd yn dwyn ffrwyth mewn gweithredoedd da. Y mae gwaith yr Ysbryd Glân yn sylfaenedig ar waith Crist yn y profiad yr un modd ag yn y pwnc, ac y mae yn dychwelyd yn ol yn ogoniant i Grist mewn gweithred Felly yn lle edrych ar y Diwygiad Methodistaidd fel yn difodi y Diwyg

iad Protestanaidd, dylid edrych ar y naill fel ychwanegiad at y llall. Y mae yr athrawiaeth efengylaidd am ailenedigaeth yn derbyn ei grym o'r athrawiaeth Brotestanaidd am gyfiawnhad trwy ffydd; a dyma yr olwg a gymerwyd ar y mater gan yr holl dadau Methodistaidd yn mhob gwlad. Ffydd oedd pwnc mawr y ddau ddiwygiad; ond fod y Diwygwyr Protestanaidd yn edrych yn benaf ar ffydd yn ei chysylltiad â chyfiawnhad, a'r Diwygwyr Methodistaidd yn edrych arni yn benaf yn ei chysylltiad ag ailenedigaeth.

Cymaint â hyn am y Diwygiad Methodistaidd yn gyffredinol. Ond efallai, cyn dybenu, na fyddai yn anaddas gwneuthur rhai sylwadau yn fwy neillduol gyda golwg ar ei effeithiau yn Nghymru. Ac yma eto nid oes achos dwyn dim pleidgar i mewn, na threulio amser i ddadleu ar hyn o bryd pa enwad a wnaeth fwyaf, gan mai nid yn ei berthynas ag unrhyw blaid y dylid edrych ar y symudiad, oddieithr fel y mae yn pleidio crefydd efengylaidd yn erbyn pob anfoesoldeb a ffurfioldeb. Pe na buasai unrhyw bleidiau o grefyddwyr yn cael eu hadnabod fel Methodistiaid ac hyd yn nod pe na buasent wedi dyfod i fod fel cyfundebau gwahanol, buasem er hyny yn ddyledus i'r Diwygiad hwn bron yn hollol am hyny o grefydd efengylaidd sydd yn awr yn Nghymru. Mae yn ddiau fod yr hen Anghydffurfwyr Cymreig wedi gwneuthur llawer o ddaioni; ac nid oes neb yn fwy parod na'r Methodistiaid i gydnabod hyny. Y mae yn ymddangos mai un amcan mawr gan Mr. Charles yn yr hen "Drysorfa," oedd cyhoeddi hyny a allai gael o hanes pob un a gyrhaeddodd ddim enwogrwydd yn eu plith; a gresyn na fuasai ei ysbryd rhyddfrydig ef yn cael ei efelychu yn fwy gan ysgrifenwyr eraill o wahanol enwadau. Ond nid pa beth a wnaeth yr Anghydffurfwyr unwaith yw y pwnc. Y gofyniad ydyw, Pa un ai gwaelu ai cynnyddu yr oedd crefydd pan dorodd gwawr y Diwygiad ar ein gwlad? Nid yw y ffaith fod yr Anghydffurfwyr wedi gwneuthur llawer yn Nghymru yn un prawf eu bod wedi meddiannu y wlad, ac nid yw yn profi ychwaith nad oeddynt wedi colli tir i raddau mawr pan gododd y Methodistiaid. Er fod llawer o ddynion ymroddgar wedi bod yn llafurio i daenu gwybodaeth grefyddol yn mysg y Cymry, y gofyniad ydyw, Pa nifer oedd o honynt yma, a pha olwg oedd ar y rhai hyny, pan ddechreuodd Jones o Landdowror, a Harris, a Rowlands? Os wyf yn cofio yn iawn, chwech o eglwysi ymneillduol oedd yn holl siroedd y Gogledd y pryd hwnw, yn ol y dystiolaeth a roddir gan y diweddar Mr. Roberts o Lanbrynmair yn yr hanes a ysgrifenodd am ei ragflaenor, Mr. Rees. Ac

os yw hyn yn wir, y mae yn rhaid eu bod wedi lleihau mewn rhifedi wrth y peth oeddynt wedi bod. Gellir cael prawf ychwanegol o hyn yn hanes Rowlands, Llangeitho, gan Mr. Owen o Thrussington, lle y mae taflen wedi ei rhoddi i ddangos ar un wyneb-ddalen, enwau cefnogwyr enwocaf crefydd yn Nghymru o amser y diwygiad oddiwrth Babyddiaeth hyd y fl. 1800, ynghyd â'r amser y buant byw, ac ysbaid oes pob un o honynt. Y mae efe yn fwy anmhleidgar na rhai Anghydffurfwyr, oblegid y mae yn cydnabod yn rhwydd y gwasanaeth a wnaeth eraill heblaw eglwyswyr. Y mae yn dechreu gyda William Salesbury, Dr. Davies, Thomas Huet, Dr. Morgan, Dr. Powel, Dr. Davies, Edmund Prys, Dr. Parry, Heylin, Middleton, a Rees Prichard. Yna rhoddir enwau yr Anghydffurfwyr, Wroth, Robert Powel, Erbury, Walter Cradoc, Vavasor Powell, Thomas Gouge, Stephen Hughes, Peregrine Philips, a Hugh Owen. O'r rhai hyn y mae yr Eglwyswyr yn perthyn bron yn hollol i'r unfed-ganrif-ar-bymtheg, a'r Anghydffurfwyr i'r ail-ar-bymtheg. Wedi hyny rhoddir enwau y Methodistiaid yn y ddeunawfed ganrif. Ond wrth edrych ar y daflen, gwelir fod gwagle rhwng yr Anghydffurfwyr a'r Methodistiaid, llawer mwy nag sydd rhyngddynt â'r Eglwyswyr, ond yn unig fod Griffith Jones yn eu cysylltu â'u gilydd, trwy fod boreuddydd ei oes ef yn rhedeg yn ol i amser y rhai olaf o'r Anghydffurfwyr. Y mae yn sicr nad oedd y gwagle hwn heb ddynion llafurus yn byw ynddo; ond y mae mor sicr nad oedd un math o enwogrwydd yn perthyn iddynt.

Y gofyniad nesaf ydyw, Pa fodd yr effeithiodd y Diwygiad Methodistaidd ar dduwinyddiaeth yn Nghymru? Gellid cymhwyso yr hyn a ddywedwyd eisoes am ansawdd y Diwygiad yn gyffredinol fel atebiad i'r gofyniad hwn. Ond y mae anghraifft i'w chael yn dwyn perthynas neillduol â Chymru, yn "*Nghorff Duwinyddiaeth*" Dr. Lewis. Y mae yn amlwg fod Dr. Lewis yn ddyn o feddwl cryf, ei fod wedi darllen llawer ar weithiau y Puritaniaid, a'i fod yn deall yr hyn oedd yn ei ddarllen. Y mae wedi ffurfio ei dduwinyddiaeth ar gynllun yr awdwyr goreu, ac wedi ymgadw yn well na llawer yn yr oes o'i flaen oddiwrth bob golygiadau eithafol. Ond pa beth yw ei farn ef am Ailenedigaeth? Mor bell ag y medraf weled ei feddwl, y mae yn cau allan offerynoliaeth y Gair, ac yn dal ailenedigaeth ddigyfrwng. Y mae hyn yn hollol groes i olygiadau yr hen Dadau Methodistaidd. Ni ddylid edrych ar Dr. Lewis fel cyfeiliornwr: er hyny y mae yma wahaniaeth; ac y mae hwn yn gysylltiedig â gwahaniaeth arall gyda golwg ar y berthynas rhwng ailenedigaeth a ffydd. Y

mae Dr. Lewis yn rhoddi ailenedigaeth o flaen ffydd; ac felly y mae yn rhaid i ddyn aros nes cael ei aileni cyn y gall feddwl am gredu yn Nghrist, tra yr oedd yr hen Fethodistiaid yn galw ar bawb i fyned rhag blaen at Grist, ac yn dywedyd fod gan ddyn annuwiol hawl i gredu yn Nghrist fel y mae yn cael ei ddadguddio yn y Gair yn Geidwad digonol i'r penaf o bechaduriaid. Pwy bynag nad yw yn teimlo fod yma wahaniaeth, nid yw eto yn deall egwyddorion cyntaf duwinyddiaeth.

Mewn gair, yr effaith a gafodd Methodistiaeth ar dduwinyddiaeth Cymru oedd ei chodi i dir mwy rhydd, mwy eang, a mwy efengylaidd. Yr oedd ymraniad trwyadl wedi cymeryd lle yn mysg yr Anghydffurfwyr yn Nghymru yr un modd ag yn Lloegr. Yr oedd un blaid wedi gwyro at Neonomiaeth i ddechreu, yna at Arminiaeth, yna at Ariaeth, yr hyn a'u harweiniodd o'r diwedd i Sociniaeth. Er mwyn cadw yn ddigon pell oddiwrth y corsydd hyn, nesodd y blaid arall at sychdiroedd Uwch-Galfiniaeth; ac aeth rhai o honynt mor bell a rhoddi terfyn i werth yr Iawn, a gwadu dyledswydd dyn annuwiol i gredu yn Nghrist. Ac nid hyn yn unig, ond aethant o'r diwedd i ddadleu na ddylid pregethu yr efengyl ond i'r etholedigion, ac nad yw yr etholedigion mewn cyflwr colledig cyn iddynt gredu. Y mae Dr. Lewis yn mhell oddiwrth yr eithafion hyn; ac y mae yn anhawdd cael corff duwinyddiaeth mwy rhydd oddiwrth ddiffygion na'r eiddo ef. Ar yr un pryd, y mae yn rhaid addef fod mwy o eangder yn athrawiaethau yr efengyl fel y dadblygwyd hwynt gan Rowlands a Harris, Williams o Bantycelyn, Charles o'r Bala, a Jones o Ddinbych. Byddai yn anhawdd crybwyll un awdwr sydd wedi rhoddi golwg fwy ardderchog a mwy cyflawn ar holl drefn yr iachawdwriaeth nag a geir yn nghyfansoddiadau Williams. Am Charles o'r Bala afreidiol yw dywedyd gair, gan fod ei waith yn cael ei gydnabod fel safon. Ond prin y mae cyfiawnder wedi ei wneuthur eto i Jones o Ddinbych, yr hwn sydd yn sicr o ddyfod i fwy o fri, fel y daw hanes yr athrawiaeth yn fwy o destyn efrydiaeth. Cyn ei farwolaeth ef yr oedd gwrthdarawiad yn erbyn Uwch-Galfiniaeth wedi dechreu yn mysg yr Anghydffurfwyr, yr hwn a aeth ar gynnydd yn raddol nes peri cyfnewidiad cyffredinol yn eu barn. Tybodd llawer o'r Methodistiaid fod eu brodyr ymneillduol wrth ymwrthod ag Uwch-Galfiniaeth, yn nesu gormod at Arminiaeth; a pharodd hyn wrthdarawiad yn rhai o honynt hwythau, a gyrodd hwynt i adael hen safle y Methodistiaid, ac i ochri at syniadau Uwch-Galfinaidd. Tuedd y dadleuon o'r ddwy ochr oedd fel y canlyn: Yr oedd un blaid yn cyfeirio ie

sylw yn fwy neillduol at y gofyniad, Paham y mae rhai yn golledig? Ac wrth geisio ateb y gofyniad hwn, yr oeddynt yn dyfod i'r penderfyniad fod yr achos o hyny ynddynt hwy eu hunain: ac yr oeddynt o ganlyniad yn teimlo, na fyddai neb yn golledig yn y diwedd ond y rhai a wrthodent yr iachawdwriaeth oedd wedi ei darparu iddynt hwy yr un modd ag i'r rhai a gedwir. Wrth gymhwyso y gosodiad hwn, aeth amryw yn raddol mor bell â dadleu nad yw Duw yn gwneuthur mwy i'r rhai a gedwir nag i'r rhai a fyddant yn dragywyddol golledig, fod yr Iawn yn dwyn yr un berthynas â phawb, a bod gallu neu ras digonol er iachawdwriaeth yn cael ei roddi i bawb yn ddiwahaniaeth: ond arosodd eraill yn y pwnc cyntaf, sef cyffredinolrwydd yr Iawn, heb ymwrthod â phenarglwyddiaeth Duw yn y cymhwysiad o'r iachawdwriaeth. Yr oedd y blaid arall yn dechreu gyda'r gofyniad, Paham y mae rhai yn gadwedig? Wrth ateb y gofyniad hwn, yr oeddynt yn gweled fod yr achos yn Nuw, ac mai efe gan hyny sydd yn gwneuthur y gwahaniaeth. Ond wrth gario allan yr egwyddor hon i'w chanlyniadau, aeth rhai mor bell â rhoddi lle i gasglu eu bod yn gwadu fod yr Iawn yn ddigonol i bawb, neu fod Duw mewn gwirionedd yn galw ar bawb i gredu: ac er mwyn dal yn eglur fod troedigaeth pechadur o Dduw yn unig, aethant i wadu y gallu naturiol sydd mewn dyn fel creadur rhesymol. Nid aeth ond ychydig iawn o'r Methodistiaid i'r eithafoedd hyn, o leiaf, nid aethant felly mewn proffes. Y cwbl a ellir ei ddywedyd ydyw fod llawer o honynt am ryw gymaint o amser wedi dangos gogwydd atynt. Ond daliodd y cyfundeb fel y cyfryw wrth yr hen gred fod yr Iawn yn ddigonol i bawb, fod gallu naturiol gan bawb i edifarhau a chredu yr efengyl, fod Duw yn galw ar bawb yn ddiwahaniaeth; ac eto fod perthynas neillduol rhwng yr oll o drefn yr iachawdwriaeth â'r rhai a gedwir. Er cydnabod mai fel Penllywydd yr oedd Duw yn gofyn Iawn, yr oeddynt hefyd yn barnu fod ei lywodraeth ef yn seiliedig ar gyfiawnder tragywyddol: ac er cydnabod fod yr iachawdwriaeth yn addas i bawb, yr oeddynt yn barnu hefyd mai Duw yn ei ras penarglwyddiaethol sydd yn dwyn dyn i wneyd derbyniad o honi. Pa un bynag o'r golygiadau hyn a ddilynir genym, yr ydym ar y cyntaf yn cyfarfod ag anhawsderau; ac yn ngwyneb hyny nis gallwn wneuthur yn well nag ymdrechu i gymeryd i mewn, yn eangder eu cynnwysiad, yr holl wirioneddau eglur sydd yn y llyfr dwyfol, hyd yn nôd pe na byddem yn alluog i gyrhaedd y canolbwynt, o'r hwn y maent oll yn ymddangos mewn cysondeb perffaith â'u gilydd.

DIWEDD.